# GWAITH PRYDYDDAWL

Y PARCHEDIG

GRIFFITH EDWARDS, M. A.

CURAD LLANGOLLEN.

# GWAITH PRYDYDDAWL

Y PARCHEDIG


## GRIFFITH EDWARDS, M.A.

CURAD LLANGOLLEN.


YN CYNNWYS

## PRYDDESTAU BUDDUGOL,

Y RHAI

A ENNILLASANT ARIANDLYSAU A GWOBRWYON; YN NGHYDA LLAWER O GYFANSODDIADAU ERAILL, YN GYMRAEG A SAESNEG.

HEFYD,

TRAETHAWD AR ANSAWDD A DIBENION BARDDONIAETH.


BALA:

ARGRAPHWYD GAN R. SAUNDERSON;

AC AR WERTH

GAN H. HUGHES, ST. MARTIN'S-LE-GRAND, LLUNDAIN; E. & T. JONES, LLERPWLL; SEACOME & PRICHARD, A T. CATHERALL, CAERLLEON; W. REES, LLANYMDDYFRI; A PHRIF LYFRWERTHWYR ERAILL.

1846.


D.

TO

HER MOST GRACIOUS MAJESTY,

THE QUEEN,

THESE POEMS

ARE,

BY ROYAL PERMISSION,

MOST HUMBLY DEDICATED,

BY HER MAJESTY'S MOST DUTIFUL AND DEVOTED
SUBJECT AND SERVANT,

GRIFFITH EDWARDS.

# RHAGYMADRODD.

Wrth osod y gyfansoddiadau hyn ger bron y cyhoedd, fe allai mai nid afreidiol mynegi mai ffrwyth myfyrdod dyddiau boreuol yr awdwr ydyw y rhan fwyaf o honynt. Ond bu iddynt fyned dan rai cyfnewidiadau wrth gael eu hadysgrifenu i'r diben o'u hargraphu. Yr hyn a dueddodd yr awdwr i'w hargraphu yn bennaf, ydoedd, bod yn eu mysg amryw o gyfansoddiadau buddugol, am y rhai y rhoddwyd gwobrwyon ar wahanol achlysuron, a dymuna i gadw y rhai hynny, yn nghyda rhyw bethau eraill o ffrwyth yr awen, rhag myned o honynt ar ddifancoll.

Nid ydyw yn disgwyl y bydd i'r llyfr gael rhyw dderbyniad mwy gwresog nag a roddir i'r cyffredinolrwydd o'r cyfryw gyfansoddiadau. Ond mae 'r gefnogaeth a roddwyd i'r gwaith yn barod yn ddigon a awgrym y bydd iddo

gael derbyniad parod ym mysg rhifedi nid bychan o'n cydwladwyr, yn gystal ag eraill. Nid ydyw cynnyrchion yr awen yn y fath fri yn bresennol yn y Dywysogaeth ag y canfyddwyd hwynt rai blynyddoedd yn ol. Y rhan fwyaf o ddarllenwyr Cymreig a dreuliant eu horiau hamddenawl yn y dyddiau hyn i ddarllen dadleuon crefyddol a pholiticaidd, yn hytrach nag i yfed o ffrydiau Helicon, ac i eistedd gyda 'r awenau ar lenyrch tawel eu bryniau a'u dolydd. Ond gellir dywedyd bod hyn yn ddirywiad yn chwaeth y bobl, yn hytrach nag i'r gwrthwyneb, a'r canlyniadau ydynt yn feunyddiol yn profi hynny. Llais natur ydyw barddoniaeth, wedi cael ei gyssylltu wrth fesur a chynghanedd. A'r neb sydd yn deall y natur ddynol oreu, ac yn medru cydymdeimlo gyda 'r hil ddynol yn y modd dwysaf, sydd yn sicr o hoffi barddoniaeth fwyaf, ac o ragori uwchlaw eraill yn y gelfyddyd.

Mewn perthynas i natur y cyfansoddiadau hyn, gall yr awdwr ddywedyd iddo ymdrechu cadw mewn golwg yr egwyddor ardderchog hono, sef gogoniant Duw, a lles dyn, trwy y cyfan o honynt; ac heb wneyd hyn ni buasai yn teimlo bod ei waith yn eu cyhoeddi hwynt i'r

byd yn cydweddu â'i swydd ef megis gweinidog yr efengyl.

Y traethawd ar natur a dibenion barddoniaeth sydd yn gynnwysedig gan y mwyaf o sylwedd amrywiol lythyrau, y rhai a ymddangosasant o dro i dro yn y newyddiadur a elwir "*Y Protestant*," er's rhai blynyddoedd yn ol, a derbyniasant gymmeradwyaeth gyffredinol ym mysg llawer o ddysgedigion pennaf Cymru. Cynnwysa sylwadau mwy helaeth ar farddoniaeth yn gyffredinol na dim a ymddangosodd o'r blaen yn yr iaith Gymraeg; a hyderir y gall fod o fudd ac adeiladaeth i'r rhai hynny nad ydynt yn meddu ar fanteision i chwilio i waith awdwyr eraill a ysgrifenasant yn fwy helaeth ar y testyn.

Mewn perthynas i'r caniadau Seisnig, gellir dywedyd iddynt gael eu cyhoeddi, yn bennaf, er mwyn y rhai nad ydynt yn alluog i ddeall y rhai Cymreig. A chanfyddir i lawer o'r cyfryw roddi eu cefnogaeth i'r awdwr i gyhoeddi 'r gwaith trwy roddi eu henwau i lawr ar restr y tanysgrifwyr. Ac mae yn dra thebygol na fydd i'r llyfr ddyfod i ddwylaw llawer o ddarllenwyr heb fod yn alluog i ddeall y caniadau Seisnig yn llawn cystal a'r rhai Cymreig.

Anfonir y casgliad hwn fel ag y mae i nawdd y cyffredin, a hyderir nad ydyw yn bossibl bod dim ynddo i roddi achos tramgwydd i neb; a gobeithir y gall fod o ryw gymmaint o fudd ac adeiladaeth i bawb a'i darlleno. A chan bod ein Grasusaf Frenhines wedi caniattau, mewn modd tirion, i'r awdwr gyflwyno 'r gwaith i'w nodded hi, gellir bod yn sicr na fydd i blant Gwalia ddim gwrthod rhoddi iddo y gefnogaeth a deilynga.

LLANGOLLEN, *Tach.* 1846.

# CYNNWYSIAD.

---

RHYDDIAITH.

## CONTENTS OF THE ENGLISH POEMS.



---

GWALLAU.—Tu dalen 1, llinell 2, yn lle *lluddiedig* darllen *lluddedig*.—Tu dalen 15, llinell 18, yn lle *yn ei ddydd,* darllen *yn ei dydd*.

ERRATA.—Page 146, " and if it *do* not contain," *read* " and if it *does* not contain."

# PRYDDEST

**AR DREF A PHORTHLADD LLERPWLL,[1] A'R HAWL SY GANDDI, O RAN CYFOETH A MARSIANDIAETH, I GAEL EI GALW *TYRUS NEWYDD*.**

TESTUN EISTEDDFOD LLERPWLL, MEHEFIN 1840.

LLE cyfhwrdd y *Mersey* â thônau 'r Môr Werydd,
Mal pe b'ai 'n lluddiedig ar ol ei thaith hir,
Y gwelir tref orwemp Llynlleifiad ysblenydd;
Brenhines y moroedd, ac addurn ein tir.

Ei henw sy'n hysbys trwy 'r crwnfyd cwmpasog,
Lle chwytha y gwynt, ac y treigla y dôn;—
Cenhedloedd y ddaear, trwy 'r dyfnder trochionog,
A'u llongau yn llwythog, ymdynant at hon.

[1] Llerpwll, neu Llynlleifiad, a ystyrir yr ail dref yn Lloegr mewn maintioli a chyfoeth; ond oddeutu can mlynedd yn ol nid oedd ond lle bychan, hynod o ddigynnydd. Daeth rhagddi yn gyflym o fod yn bentref tlawd, yn cael ei breswylio gan bysgodwyr, nes cyrhaedd ei maint a'i henwogrwydd presennol. Mae ei sefyllfa yn nodedig o gyfleus er cario ymlaen bob masnach, sef ar làn yr Afon Mersey, lle y cyferfydd gyd â'r Môr Werydd; a thrwy hynny gall llestri fyned allan o'i phorthladd i'r môr mawr mewn ychydig oriau. Ar y llaw arall, yr Afon Mersey sydd yn fordwyol i bellder mawr i mewn i'r wlad, tra mae 'r wlad oddi amgylch yn cynnwys llawer iawn o weithydd mawrion ynddi.

Tyr'd awen, golyga y fan sy'n rhyfeddod
  I'n hoes, yn ei masnach a chynnydd ei 'stôr;
Trigolion pob ardal a welir mewn syndod,
  Am hon yn ymddiddan o fynydd i fôr.

Ei llestri sy'n rhwygo gwastadedd maith Neifion,
  Bryd arall ymdreiglant dros foelydd y mŷr,*
A'i morwyr calonog wynebant yn eon
  Trwy deyrnas faith *Neptune*,[1] heb ddychryn na
    chur.

Hwylbrenau ei llongau, o bell megis coedwig,
  Sydd yn arddangos ei mawredd a'i bri;—
A lluoedd dro'nt allan i wledydd pellenig,
  Gan ledu eu hwyliau a lluchio y lli.

I mewn y daw eraill;—a banllef gorhoian
  Sy 'n cael ei gwrthatteb gan furiau y lle;
Fel hyn rhai sy'n dychwel, a'r lleill yn troi allan
  Ar wasgar, i bob man îs haulwen y ne'.

Ei mwg a ddyrchafa yn dorchau i'r wybren,
  Nes cuddiaw siriolbryd claer lusern y nen;
A thawch yn golofnau ymsaetha i'r ffurfafen,
  A'r agerdd sy 'n rhuo trwy 'r wybren uwch ben.

* *Mŷr*, rhif lliosog o *Môr*.

[1] *Neptune* a *Neifion* ydynt agos yn gyfystyr, a'r naill a'r llall yn arwyddo llywydd ar frenhiniaeth yr eigion; ond mewn barddoniaeth mae 'r enwau yn cael eu defnyddio i arwyddocau y môr ei hunan.

Mae trwst y myrddiynau sy 'n gwau trwy 'r heolydd
  Yn dadwrdd fel tonnau ar finion y môr;
Myned a dychwel y gwelir hwynt beunydd,
  Fel gwenyn trwy 'r maesydd yn cludaw eu 'stôr.

Adeiliau mawreddog, lle trinir matterion
  Trafnidiaeth, a masnach o'r môr ac o'r tir;
Marsiandai godidog, Eglwysydd, Ysgolion,
  Sydd yma 'n addurno y ddinas mae 'n wir.

Ym mysg y pinaglau drywanant yr wybren,
  Y gwelaf Britannia[1] yn eistedd yn ben;
Mae bron a chyrhaeddyd yr asur ffurfafen,
  A gwneyd ei sefyllfa 'mysg bodau y nen.

A gwel wron Trafalgar[2] hefyd yn trengu,
  A Brydain gan alar yn newid ei gwedd;
Ac angau sydd atto yn distaw ddynesu,
  Gan agor ei ddwyfron âg ergyd ei gledd.

Ni's gallaf anghofio y waedlyd ymdrechfa,
  Tra 'n gweled yr olwg angeuol ger bron:—
A'r gelyn yn brysur yn ffoi o'r ymladdfa,
  Trwy gyrph y marwolion, rhai dagent y dòn.

[1] Cyfeirir yma at y *Britannia* a ganfyddir ar ben yr *Exchange.*

[2] Y wyddfa i'r Cadfridog anfarwol Nelson, yn ymyl yr *Exchange*, a gyfrifir yn waith hynod o gelfyddgar, a chostiodd £8,000.

Dinasoedd y cynfyd, hen Dyrus[1] a Sidon,[2]
A Rhufain[3] a Carthage,[4] orenwog eu bri,
Yn hŵy ni chant fritho caniadau 'r prydyddion,
Eu coron drosglwyddwyd Llynlleifiad i ti.

Dy ddiwyd breswylwyr a ddiflin ymdrechant,
Am drysor a chyfoeth hwy chwiliant bob lle;
A'th enwog farsiandwyr i bob gwlad a gyrchant,
O eithaf y gogledd hyd bellder y de.

Nid moroedd a guddir gan balmant tragwyddol
O rew, allant rwystro anturiaeth dy wŷr;
Na holl ddychryniadau yr aig anfesurol,
Na gwres y poeth gylchoedd, neu heintiau a chur.

[1] Tyrus ydoedd ddinas enwog gynt yn Phœnicia, wedi ei hadeiladu gan y Sidoniaid. Gelwir hi yn bresennol Sur. Yr oedd y Tyriaid yn nodedig am eu diwydrwydd, a chyfrifid eu dinas yn brif sefyllfa marsiandiaeth yn yr hen amseroedd. I'r Tyriaid y rhoddir yr anrhydedd o ganfod allan y modd i liwio yr ysgarlad gyntaf. Yr oedd Tyrus yn meddu ar ddau o borthladdoedd eang, yn nghydâ llynges gref.

[2] Sidon ydoedd ddinas arall yn Phœnicia, a phrif ddinas y deyrnas, ac yr oedd iddi borthladd rhagorol; ei henw yn bresennol ydyw Said. Y mae yn sefyll ar làn Môr y Canoldir, o gylch hanner cant o filltiroedd o Ddamascus, a phedair ar hugain o Tyrus. Yr oedd ei thrigolion, yr un modd a'r Tyriaid, yn nodedig am eu diwydrwydd, eu medr mewn marsiandiaeth, a'u morwriaeth.

[3] Rhufain, prif ddinas yr Eidal, yr hon a fu am oesoedd y ddinas fwyaf enwog ar y ddaear.

[4] Carthage, oedd ddinas enwog yn Africa, yr hon a fu am amser maith yn gwrthwynebu Rhufain.

Sêr dieithr yn fynych arweiniant dy longwŷr,
A'u hwyliau a ledir gan awel y de;
A haul y ffurfafen sy 'n dyst bod dy forwŷr,
Yn dilyn ei danbaid belydrau i bob lle.

Y dyfnder fu gynt yn gwahanu cenhedloedd,
Yn awr wnaed yn brif-ffordd i'w hunaw y'nghyd;
Morwriaeth a welir yn asio teyrnasoedd,
Gan ddwyn i'n cym'dogaeth eithafion y byd.

Bu croesi 'r Môr Werydd am oesau 'n rhyfeddod,
A hwylio i dir India yn orchest tra mawr;
Ond terfyn llywodraeth hen Frydain alluog
Yw 'r wybren uwch ben, a'r Môr eithaf, yn awr.

Cenhedloedd ffroen uchel tu hwnt i'r cyhydedd,
A welwyd yn plygu i'r llwch ger ei bron;
Ysgydwa 'i theyrnwialen;—mae arswyd trwy 'r gogledd
A'r deau yn treiddio, mewn mynud rhag hon.

Taranau 'i digofaint, a'u herchyll ruadau,
A siglant orseddau meib cedyrn y byd;
A'i llestri diorfod a gadwant ororau
Pellenig y ddaear, mewn arswyd o hyd.

Gwel fawredd Llynlleifiad, ei phorthladd gorenwog,
Lle cludir trysorau y byd i'r un man;
A chaerau amddiffyn hen Albion[1] alluog,
Ei muriau o dderw, o amgylch y làn.

[1] Albion, hen enw Ynys Brydain.

Fel nodwydd y morwŷr yn troi at y gogledd,
  Er gwaethaf rhuadau diorphwys y dòn,
A hyn heb wahaniaeth o bob tu i'r cyhydedd,
  Mae tynfa holl lestri y ddaear at hon.

Y chwim agerdd-longau, tros dònau 'r gwyrdd heli,
  Ant allan oddi yma yn chwyrn i bob parth;
Mae 'r eigion o'u hamgylch yn gorwyllt dryferwi,
  A'r wybren ysblenydd a guddir gan darth.

Rhyfeddol olygfa! mal rhwygant trwy 'r tònau,
  Bryd arall ymdreiglant, gan gryfder y gwynt;
Ail ydynt i'w gweled i danllyd fynyddau,
  Yn nofio trwy 'r weilgi drochionawg i'w hynt.

Mor fuan y croesant i bell dir Amerig,
  Gan ddilyn yr haul er mor gyflym ei daith:
Yn awr nid oes unman i'w wel'd yn bellenig,
  A'n teyrnas sy'n farchnad pob llwyth a phob iaith.

Na soniwn ddim mwyach am Madog,[1] a'i fordaith,
  I'w gwel'd i'n cyndadau fel newid dau fyd;
Ein llestri wna 'r dyfnder yn awr yn ddieffaith,
  Trwy unaw Amerig a Brydain ynghyd.

Y fath gyfnewidiad sydd er y cyn-oesoedd,
  A dyddiau mabandod y deyrnas fawr hon!
Pan gynt ein hynafiaid, dros ddw'r y dyfnderoedd,
  Ac yn eu cwch unpren, farchogent y dòn.

[1] Madog ab Owen Gwynedd, yr hwn, yn ol hanesion cred-adwy, a groesodd o'r wlad hon i'r America lawer o flynyddoedd cyn i Columbus ddarganfod y cyfandir enwog hwnnw.

Gwylltfilod yr anial gymmerent eu noddfa,
  Lle gwelir Llynlleifiad odidog yn awr;
A'r fan mae 'i phalasau, a'r orwych olygfa,
  Gynt bleiddiaid y llwyni orweddent i lawr.

Ond yma 'n bresennol trigolion y ddaear
  A gyd-ymgynnullant, lle gynt nad oedd gwr;
A'r fan bu 'r bwystfilod yn gorwedd ar wasgar,
  Gan wneyd eu hanneddau ar finion y dw'r.

Fel Tyrus hon ddygodd ei hun i enwogrwydd
  Trwy 'i masnach, ei chyfoeth, a'i medr uwch y
    dòn;
Ac ail i'r Pheniciaid, ei meib ynt gyfarwydd
  Yn holl gelfyddydau y ddaear o'r bron.

Mae 'r byd fel yn lledu ei freichiau i'w derbyn,
  Pob culfor a phorthladd ynt fel yn ei gwa'dd;
Eu cynnyrch a enfyn pob dôl a phob dyffryn
  I lenwi ei marchnad, a lloni pob gradd.

Fel Tyrus, mae hefyd yn llongborth cenhedloedd,
  A'i morwŷr a'i rhwyfwŷr sy 'n feistri yr aig;
Y balm ddygant iddi o'r ffrwythlon ynysoedd,
  A'r trysor a gloddir o gelloedd y graig.

I'w marchnad a'i ffeiriau daw gwaith llaw y celfydd,
  Yn borphor a sidan, gorwychder pob lle;
I hon yr addfeda y ffrwyth ar y coedydd,
  Mewn gwledydd a lonir gan chwaon y de.

Dy gyfoeth, Llynlleifiad, o oror boeth Affrig
  A thiroedd hen Asia, a gluda y lli;

A'r Môr[1] sydd yn golchi gorllewin Amerig,
A gwlad yr iâ oesol, ŷr gynnyrch i ti.

I ti y datguddia yr Andes[2] ei drysor,
A delid Potosi[3] i'th fynwes a ddaw;
I ti y disgleiria y gemau 'n mhob goror,
I ti y sugna 'r winwydden y gwlaw.

Tir Catai[4] gynnyrcha ei blanhigion i'th loni,
Ac yntau 'r sidanbryf sy 'n ffurfio ei we;
Y coedydd a wylant eu nodd, a'r clogwyni
Ddadguddiant eu golud, i'th blant ym mhob lle.

Y deri grymusawl, addurnau 'r coedwigoedd,
I ffurfio dy lestri a dorrir i lawr;
A'r coedydd wrthsafent ffyrnigrwydd y gwyntoedd,
Yn llanw dy borthladd a welir yn awr.

Boed llwyddiant i'th ddilyn a chynnydd diddarfod,
A'th feibion fo 'n enwog tra daear a nen;
Ond gochel ffyrdd Tyrus,[5] ei balchder a'i phechod,
Rhai dynodd felldithion yr Iōr am ei phen.

[1] Môr Mawr y Deau, yr hwn sydd yn cynnwys ynddo ynysoedd lluosog, yn nghydâ thiriogaeth eang Australia, yn perthyn i'r llywodraeth Frytanaidd.

[2] Andes, mynyddoedd mawrion yn Neheubarth America, y rhai a ymestynant o gyfyngdir Darien hyd at Patagonia, dros bedair mil o filltiroedd.

[3] Potosi, ydynt fwngloddiau arian enwog yn Chili, Deheubarth America.

[4] Catai y gelwir China, o'r lle y cludir llawer o nwyddau masnachol i'r deyrnas hon, ac yn enwedig y tê.

[5] Cafodd Tyrus ei llwyr ddinystrio gan Alexander Fawr, yn unol â phrophwydoliaethau Esay ac Ezeciel. Bu raid iddo

## LLONGDDRYLLIAD.*

O'R porthladd dymunawl, llestr a gychwynai,
  I fyned ar fordaith dros wyneb y dòn;
A'r haulwen o'i hol yn auraidd belydrai,
  Ac awel hyfrydlawn a'i chwythai yn llon.

I'r golwg yr oedd fel castell tra gorwych,
  Yn rhwygo gwyrdd dònau trochionog y môr;
A phawb oedd ynddi a'u bwriad a'u gwrthddrych
  Am gludo i'w cartref ryw gyfoeth yn 'stôr.

Pob un o'r dwylaw yn llawen a hoenus,
  Ymdeithwyr, a'i llywydd, yn eofn heb fraw;
A'r llestr yn nofiaw, i'r golwg mor ddestlus,
  Heb argoel pryd hwnnw bod gofid gerllaw.

Fel hyn yn ei blaen yn gyflym y teithiai,
  Gan agor ei llwybr drwy drochion y lli;
A'r awel wrth chwythu o'i deutu chwibanai,
  A'r dyfroedd o tani yn trydar gan sî.

ei gwarchae am saith mis cyn y gallai ei chymmeryd; a'r modd y llwyddodd i hyn ydoedd trwy uno yr Ynys ar yr hon a safai y ddinas gydâ 'r cyfandir, er mwyn cludo ei beiriannau rhyfel at y muriau. Yr adeiladau yn y ddinas oeddynt yn ardderchog dros ben; a'r muriau yn gant a hanner o droedfeddi o uchder, ac o drwch cyfartal. Cafodd ei hadeiladu, yn ol rhai hanesion, o gylch 2760 o flynyddoedd cyn cred.

* Sylwer nad ydyw hŷd y llinellau yn y Bryddest hon yr un ag sydd yn gyffredin yn cael ei ddefnyddio, ag a ganfyddir hefyd yn y Bryddest flaenorol.

Argoelion o lwydd yn awr a'i dilynai,
Ond tristwch a galar a lechent dan gudd;
Nid oedd un argoel mai i'w herbyn y troai,
Fel wedi y dirwynai at derfyn y dydd.

Daeth nos o'u hamgylch, yr haul a fachludai,
A duon gymmylau ordoent y nen;
Y lloer mewn nifwl, o'r golwg ymguddiai,
A sêr y ffurfafen gysgodid gan len.

Yn lle yr awelon gaed drwy y boreu,
Corwyntoedd a glywid, a'u twrdd o bob tu;
A'r môr fel crochan berwedig ymchwyddai,
A'r nos a'u hamgylchai, a'i mantell yn ddu.

Fforchawg fellt hefyd a rwygent y t'wyllwch,
A thymmestl dd'ai arnynt 'mhob agwedd a dull;
A phob un a ddaliwyd gan alar a thristwch,
Nes iddynt bron dd'rysu y'nghanol y gwyll.

Y gwlaw a ddisgynai i lawr yn genllifoedd,
Yn debyg i'r dylif a foddodd y byd;
Hefyd agorwyd trysorau y gwyntoedd,
Nes oedd yr elfenau mewn cynnwrf i gyd.

Taranau trwy'r wybr yn treiglaw a glywid,
Cymmylau cadduglyd ymdyrrent uwch ben;
A thònau y môr fel gwefr-dân ganfyddid—
O! gynnwrf dieilydd trwy ddaear a nen.

Y llong yn y dwfr fel meddwyn ymdreiglai,
Yn llesg yr ymdrechai yn erbyn y gwynt;

Pob tòn i'w harfod fel mynydd a ruthrai,
  Ail meirch i'r ymladdfa yn dyfod ar hynt.

Yr hwyliau a rwygwyd—chwythid hwy'n ddrylliau,
  A'r llyw gyda 'r angor yn ddiddefnydd aent,
A phawb oedd ynddi a ddaliwyd gan ofnau,
  Ac aml y dolefent "beth bellach a wnaent?"

I lawr draws y bwrdd y syrthiai 'r hwylbrenau,
  Tra gwelid y dwylaw mewn arswyd yn syn,
A llawer, gan faint eu tristwch a'u hofnau,
  A glywid yn siarad yn debyg i hyn:—

"Ow! ein hen ardal a'i gwyneb hyfrydol,
  A'n teulu mwyn tirion na welem eu gwedd!
Rhaid ini ymadael â'r bywyd presennol,
  Ac yma 'n y cefnfor rhuadwy cawn fedd!

"O! na ellid achub rhywun o honom
  I adrodd y dynged ddigwyddodd i ni!
Bod ein gorweddle ym meddrod yr eigion,
  A'n harch yn y tywod, a'n hamdo y lli!"

Angau a dychryn y'nghyd wnaent ddynesu,
  A phob peth a'u gyrai at ddinystr yn nes;
A thrwst y corwyntoedd a'r môr yn taranu,
  A ruent mal cerbyd ar balmant o bres.

Y tônau yn rhuthro fel mynydd ar fynydd,
  A'r llong hithau 'n marchog ar frigyn y lluwch,
A wnaent i bob ymdrech droi yn ddiddefnydd;
  A'r môr yn terfysgu yn uwch ac yn uwch.

A phan oedd y wawr o'r dwyrain yn dyfod,
  Y llestr yn awr redai yn ddrylliau ar graig;
Pwy all roi darlun o'r waedd ac o'r trallod,
  Wrth wel'd rhai 'n ymdreiglo ar wyneb yr aig!

Crochwaedd ddolefus a glywid yn codi,
  O fysg y trueiniaid a suddent i lawr;
A'r môr, a rhuadau dibaid y weilgi,
  Oedd fel yn eu gwatwor, yn echrys eu gawr.

A darnau y llong y tònau a frithwyd,
  A llawer o'r morwŷr oedd wrthynt y'nglyn;
Ond pawb o honynt i'r dyfnder a lyngcwyd,
  Fel nad allai ddiangc o honynt ond un.

Hwn, wrth ymdreiglo ar wyneb y dyfroedd,
  Gan gyrraedd y làn a ymlusgai i dir;
Hefyd pan laniodd mewn llewyg y syrthiodd,
  A'i gorph yn archollion briwedig yn wir.

Yno fe'i cafwyd gan ŵr a ddaeth atto,
  Yr hwn a ddeallodd yr helynt a fu,
Pan ydoedd ar lawr a'r dòn bron a'i gipio;
  Oddiyma 'i cyfododd, ef dygodd i'w dŷ.

Fel hyn yn dosturiol achubodd ei fywyd,
  A chanddo ymgeledd a gafodd yn gu;
A hwn oedd yr unig un a waredwyd
  Yn fyw, i adrodd yr helynt a fu.

# MARWOLAETH

## YR ARGLWYDDES HARRIET WYNN,[1]

### PRIOD SYR WATKIN WILLIAMS WYNN, BARWNIG, A.S. O WYNNSTAY.

**Barnwyd y Farwnad hon yn fuddugol yn Eisteddfod y Bala, 1836.**

MAE galar a thristwch yn tôi ein hardaloedd,
A bryniau 'r D'wysogaeth yn adsain gan gri;
Och'neidiawl riddfanau a leinw 'r dyffrynoedd,
Rhyw golled ddieilydd ddigwyddodd i ni.
Bod LADY WILLIAMS WYNN yn gorphwys mewn beddrod,
A NEST[2] ein hardaloedd yn tewi mewn tywod,
Hyn ydyw testyn y galar a'r trallod:—
O! Gymru, ti gollaist dy harddwch a'th fri!

Diarbed yw angau, p'le bynnag y delo;
Cardottyn a Brenin a barcha 'r un wedd:
Wrth ddrws y Pendefig mor fynych mae 'n curo,
A bwthyn y bugail—pawb deimlant ei gledd.
Pe cyfoeth a mawredd wnai neb yn ddihangol,
Pe lles a daioni a geid yn ddigonol,

[1] Yr oedd yr Arglwyddes HARRIET WYNN yn ferch i'r diweddar Iarll Powys, ac yn chwaer i'r Iarll presennol. Prioddodd gyda 'r diweddar Syr Watkin Williams Wynn, Barwnig, Chwefror 5ed, 1819.

[2] Nest ydoedd gwraig Ifor Hael, yr hwn oedd yn nodedig am noddi beirdd a llenyddion ei wlad; ac y mae ei enw ar gôf megis noddwr y bardd enwog Dafydd ab Gwilym.

Ni chawsem un achos, diammeu 'n dragwyddol,
I wylo wrth weled rhoi hon yn ei bedd.

Tros Ddinbych a Meirion, mor drist yw 'r galaru,
Hyd eithaf tir Lloegr cyrhaeddodd y saeth;
Y newydd galarus tros wyneb gwlad Cymru
Yn gynt na chorwyntoedd yr wybren a aeth.
Briw mawr sydd i'w theulu, a phawb yn ngwlad
Powys,
Trigolion ei hardal i gyd ŷnt drallodus;
Ond beth ydyw teimlad ei phriod wylofus!
Can 's asgwrn o'i asgwrn i'r beddrod a ddaeth.

Os tristwch wylofus a leinw y bwthyn,
Pan gwelir mam dirion yn gadaw y byd;
Os llenwir calonau y teulu â dychryn,
Pan wrth ei chlaf wely y penliniant y'nghyd:
Neud felly yw Cymru, ei chufam a gollodd,
Un ydoedd mor anwyl, a hoffus a drengodd,
Yr hon oedd ei chysur yn angau a syrthiodd!
A'i chymmorth a'i nodded ddiflanai 'r un pryd.

Ag olew dysgeidiaeth, a myrr yr ysgolion,
Y cafodd ei hurddo ym moreu ei hoes;
Ffyrdd rhinwedd a phurdeb ddilynai yn gysson,
Ar ddehau nag aswy o honynt ni throes.
A lles ei chym'dogaeth oedd agos i'w chalon,
Daioni a llwyddiant y wlad a'i brodorion,
Bob amser flaenorent ei chais a'i hamcanion,
Profiadau aneirif o hynny a roes.

Mor frau ydyw 'n heinioes, mor wag yw ein bywyd!
Ddoe gynta 'n anadlu, cyn heno mewn bedd!

Fel gwyrddail y goedwig, i'r llawr yn dychwelyd,
   Gan awel marwolaeth newidir ein gwedd!
Can's hon a gaed gynt ym mhlith boneddigesau,
Yn ail i'r teg rosyn yn addurn y blodau,
Heddyw 'n grinedig a chwythwyd gan angau
   I'r llawr, ac ni ddychwel mwy'n addurn i'w sedd.

O! Frenin mawr annhrefn, a ydyw dy saethau
   Yn 'hedeg heb reol yn awr trwy y byd!
Pa beth yw dy orchwyl? Ai medi y blodau,
   Gan adael y llysiau crinedig gyhyd?
Ti ddygaist fonedd-wraig fu 'n addurn ein hoesoedd,
Gan adael y diles a'r difudd yn ein tiroedd,
Ti gwympaist balmwydden oedd fri y dyffrynoedd,
   Gan adael yr ysgall diddefnydd o hyd.

Fel gwelir y lleuad, mewn tegwch ysblenydd,
   Ym mysg y sêr ceinwiw trwy 'r wybren y sydd;
Neu fel y briallu y'mysg blodau y dolydd,
   Fel hyn ym mysg eraill oedd hon yn ei ddydd:
Mewn lles ac mewn rhinwedd hi geid yn blaenori,
Ei phleser a'i hoffder oedd gwneuthur daioni;
Sôn am ei thiriondeb, a chwynfan o'i cholli,
   Ym mysg ein cydwladwyr, tra haulwen a fydd.

Wrth imi droi allan drwy 'n broydd hyfrydlawn,
   Mae prudd-der a galar i'w gwel'd ym mhob man;
Fy nghalon archollir gan gri y tylodion,
   Wylofain amddifaid, a chwynion y gwan:—
" Och?" meddant, " mae dunos yn toi ein hardal-
   oedd,

"A banner ddu angau gysgoda 'n mynyddoedd,
"Pob man a golledwyd, gan angau trwy 'n tiroedd,
"A'n nodded a'n cysur sy 'n mynwent y llan.

"O! beth ddaw o honom! haelioni 'r D'wysogaeth
"Sy 'n mro y distawrwydd, yn gorphwys mewn hedd;
"A'i hannedd ysblenydd newidiwyd gan alaeth,
"Mae ffrydiau o ddagrau, lle rhedai y medd!"
Gostegodd y delyn ei nefol alawon,
Lle gynt bu llawenydd mae dwys ocheneidion,
Ac heddyw mae prudd-der yn llanw pob dwyfron,
A gofid y galon amlyga pob gwedd.

Bu hon a'i hael briod yn nawdd i'n llênyddion,
A chefn dysgedigion, a noddwyr ein hiaith;
Ei mab fynai ddysgu yn gynta 'n iaith Brython,
Ac yma 'i gosodwyd i gychwyn pob gwaith!
Syr Watkin orenwog—pwy sydd yn ddieithrawl
I'w glod ac i'w enw, a'i wroldeb rhyfeddawl?
Efe a'i hiliogaeth a gant gofiant oesawl,
Tra haul y ffurfafen yn rhedeg i'w daith.

Eu mawl a chwanegir gan dreiglad maith oesoedd,
A'u henwau a gofir tra daear a nen;
Tra cyfyd crib Berwyn[1] uwchlaw y dyffrynoedd,
A thra byddo 'r Gader[2] â niwl ar ei phen—

[1] Mynyddoedd y Berwyn ydynt yn dechreu yn nghymmydogaeth Wynnstay, ac yn myned rhagddynt ar draws y wlad tua Meirionydd.

[2] Cader Idris sydd fynydd uchel yn ymyl Dolgellau, yn Sir Feirionydd.

Tra tònau 'r gwyrdd heli yn fur i'n bro dirion,
A Brydain yn llechu ym mynwes yr eigion,
Y rhai'n fydd ym mlaenaf yn rhestr ein henwogion,
A'u henwau ddisgleiriant heb gwmwl na llen.

Ond, Ah! hi a gollwyd, a'i phriod adawyd
O'i hol i alaru mewn gofid a phoen;
Ond cysur diddarfod i bawb a golledwyd,
Yw iddi fyn'd adref i gwmni yr Oen.
Newidiodd ei phalas am wlad anfarwolion,
A gofid y ddaear am le uwch trallodion,
A chafodd gydunaw y'nghwmni nefolion,
A dechreu ar wynfyd diderfyn mewn hoen.

Oferedd in' wylaw, yn ol ni ddychwela,
Ochenaid ddaearol ni threiddia lle 'r aeth;
Ond etto o briddellau y llwch y cyfoda
Ei chorph, ni fydd yno 'n dragwyddol yn gaeth.
Na, na, gwawria borau, pan cryna 'r mynyddoedd,
Y cyfyd o'r beddrod ar alwad Duw 'r lluoedd,
Pan gwympa y creigiau, pan sychir y moroedd,
Pan dry Duw i ddiddym y bydoedd a wnaeth.

## LLINELLAU

### A ANFONWYD AT GYFAILL MEWN LLYTHYR.

Fy nghyfaill caredig, hyd attat rwy 'n anfon
O'm calon fy annerchion, yn dirion ar daith;
Tra fel y gwyliedydd, wrth wel'd y wawr dirion,
Rwy 'n llawn o hyfrydwch tra 'n darllen dy waith.

Ar helyg mae 'm telyn, ym mhlith y Monwysion,[1]
Fel eiddo 'r Israeliaid yn Babilon bell;
Hen greigydd Eryri,[2] a'i ffrydiau teleidion,
O gynnwrf dynolion a hoffwn yn well.

Ei bryniau adseiniant gan accen cynghanedd,
A ffrydiau Castalia[3] ireiddiant bob nant;
Ei moelydd a'i chreigiau a wisgwyd â mawredd,
A syml ymarweddiad yw coron ei phlant.

Ond pa'm yr hiraethaf am dani mewn galar,
Hen noddfa 'r awenydd—man enwog yw Môn;
Ei digymmar Oronwy[4] gyssegrodd ei daear,
Gan hynny boddlonaf i 'wyllys fy Iôn.

[1] Monwysion, trigolion Ynys Fôn.

[2] Eryri, mynyddoedd uchaf Cymru, yn Sir Gaernarfon, lle y preswyliai yr awdwr pan yn ieuangc. Yr ardaloedd hyn ydynt yn nodedig megis cynniweirfeydd yr awen, a gellir galw 'r Wyddfa yn Parnassus Cymru.

[3] Castalia, ydoedd ffynnon yn mynydd Parnassus, wedi ei chyssegru i'r awenau. Dywedid y byddai i'r dyfroedd a redent o'r ffynnon hon gynnysgaeddu y sawl a'u hyfent gyda gwir awenydd.

[4] Goronwy Owen, bardd enwog yn y ganrif ddiweddaf. Yr oedd yn fab i lafurwr tlawd ym mhlwyf Llanfair, Môn; ond cafodd ei ddwyn i fynu yn offeiriad. Bu yn gwasanaethu mewn amrywiol blwyfydd yn Nghymru a Lloegr megis Curad; ond o ddiffyg cefnogaeth, penderfynodd o'r diwedd adael ei wlad a myned drosodd i'r America, lle y diweddodd ei ddyddiau.

## DYCHWELIAD YR YMDEITHYDD.

'Nol teithio dros ddyfnderoedd dig
Y môr berwedig mawr,
A chanfod gwagedd braidd bob peth,
Yn ddifeth ar y llawr;
'Nol bod ym mysg yr Indiaid draw,
A gwibiaw 'mhell o'm gwlad,
Dychwelais adre' o dòn i dòn
Yn llon, i dŷ fy nhad.

Pan oeddwn mewn estronol fro
Yn rhodio ar fy hynt,
Hiraethwn, gyd â'm dagrau 'n lli,
Am gwmni 'm dyddiau gynt:
Y maesydd teg, perllenydd llon,
Bendithion Duw a'i rad,
Ynt brydferth yn yr India bell,
Ond gwell yw tŷ fy nhad.

Rhyw ryfeddodau mawr bob dydd,
Drwy wledydd pell y byd,
A gefais wel'd ym mhob rhyw bau,
Yn glau, o'm hannedd glyd:
Ond daethum adref yn fy ol
O ganol twyll a brâd,
Heb ganfod dim, drwy ymdaith bell,
Oedd well na thŷ fy nhad.

Mae perlau teg, a gemau drud,
A golud yn ddiri,
A thywod aur, yn India bell,
Mil gwell na chydâ ni:
Ond ni cheir yno gan y rhai'n
Un cysur o'r hen wlad,
A phob peth yno 'n wermod dry
Mor bell o dŷ fy nhad.

## GALARNAD

### AR FARWOLAETH Y PARCH. JOHN JENKINS, M. A. PERIGLOR CERI, SWYDD DREFALDWYN.

Testun Eisteddfod Beaumaris, 1832, am yr hon y derbyniodd yr Awdwr Arian-dlws y Dywysoges Victoria a Duges Caint.

Pa eiriau pwysig ac wylofus gaf
I adrodd trymder fy meddyliau trist!
A d'wedyd am y ddirfawr golled fu
I frodir Gwalia, gyd âg aethus gur!
Bu farw un o enwogion penna 'n bro,
A chadarn biler i dir Cymru a'i hiaith.
Mae 'r newydd fel rhyw freuddwyd rhyfedd im',
Yn llawn amheuon, a thybiadau gau,
Ei roddi i orphwys ym mhriddellau 'r llawr.
Cymmylau duon galar hefyd sydd
Yn dô ar dô, o amgylch Ceri deg;
O herwydd trallod, a galaethus ing,
A ddygodd angau dros yr ardal oll.

Oh! 'r gofid dwys sy 'n treiddio i bob lle!
Rhyw ing dieilydd welir wedi ein dal.
Machludodd haul y Dywysogaeth wemp,
Pan newydd gyrraedd ei ddisgleirdeb llawn.
I lawr e dòrwyd uchelfrigog bren
A safai 'n bennaf yn y goedwig werdd.
Y mur a syrthiai, fu 'n amddiffyn gynt
Rhag broch dymmestloedd, a rhuadau 'r 'storm.

O Jenkins hoff! Pwy 'n awr a ddichon dd'weyd
Y golled fu dy roddi dan y gwys!
Trist alarnadau ynt yn llanw 'th blwyf,
A'th dylwyth hawddgar guddia 'r cwmmwl du:
A'r Cymry i gyd, o ben i ben i'r wlad,
Sy 'n trist alaru am danat, mal un gwr;
A bron na wylai 'r creigiau yn ein tir,
A'r meini celyd guddiant lethrau 'r fro.

Chwi lysiau 'r maes, y dail a'r blodau llon,
Rhowch heibio 'ch tegwch, gwisgwch oll eich du!
Chwi 'r adar mwyn a byngciwch yn y coed,
Newidiwch oslef eich soniarus gerdd.
Chwi ffrydiau llafar, mewn murmurawg daith,
A thrwst cwynfanus treiglwch oll i lawr.
Boed natur oll yn dawel ac yn brudd,
A'r wybren lâs a wisgo 'i lleni niwl.
Gosteged holl lawenydd daear lawr,
A minnau 'n drist a ymneillduaf draw
O wyddfod dyn, i ochr y mynydd serth,
Ac yno, a'm pen yn pwyso ar y graig,
A'm dagrau 'n disgyn i'r risialaidd ffrwd,
Yr eiliaf iddo alarnadawl gerdd.

O Ifor Hael! pa le mae 'th drigfa 'n awr!
Mae 'n rhyfedd gennyf feddwl am y dydd
Yr aethost ymaith i'r dragwyddol fro!
Ail seren ddisglaer yn diflannu o'r nen!
Ammheuaeth, weithiau, sydd yn d'weyd im'
Y deui attom yma cyn pen hir—
Ond synwyr ddywed mai dychymyg ffol
Yw i ni ddisgwyl byth dy weled mwy.
Ond dy rinweddau, a'th enwogrwydd mawr,
A fyddant byth yn goron ar dy ol
Na lygra angau, ac na lwyda 'r bedd.

Dy hoffder penna 'm morau ddydd dy oes
Oedd olrhain dysg, ar hyd ei throellawg ffyrdd;
Ac enwog oeddit yn dy bwysig swydd
Pan gynta[1] 'r eist i mewn i winllan Ior.
Dy hynt gymmeraist o dy fro cyn hir,
Dros dônau 'r eigion i'r gorllewin pell,
I dd'wedyd am fawr gyfoeth gras ein Ior
Wrth ein cydwladwyr yn yr India boeth.
Dy wlad adewaist, a thros dônau 'r môr
I frodir estron[2] yr anturiaist hwnt.
Gwahanol iawn i'th dawel frodir hoff,
A bryniau Cymru, oedd y lleoedd hyn.

[1] Bu Mr. Jenkins yn gweinyddu gyntaf yn yr Eglwys yn *Isle of Wight*, lle y parhaodd yn Gurad i'r Dr. Lewis, Periglor Whippingham, yr hwn oedd yn ewythr iddo, am yr yspaid o chwe blynedd.

[2] Yn y flwyddyn 1799 ymadawodd â Lloegr i fyned yn Gapelydd ar fwrdd y llong ryfel a elwid *Agincourt*; gorsaf yr hon oedd ar gyffiniau yr India Orllewinol.

Preswylio y'nghanol dychryn tân a chledd,
Dan gwympiad syth pelydrau mwrn yr haul,
Lle mae 'r elfenau 'n aml mewn cynnwrf gwyllt;
Y fforchawg fellt yn gwibiaw drwy y nen,
Gan droi y ddunos bron yn oleu ddydd;
Ac erch gorwyntoedd yn gwneyd llawer tref
Yn adfeiliedig bentwr mewn un awr;
A daeargryn yn hollti 'r bryniau serth,
A llyngcu i fynu lawer dinas wemp:
Mor chwith oedd hyn i un a dreuliai gynt
Ei faboed hoff yn Ngwalia dawel fro!
Ond gofal am eneidiau eraill wnaeth
It' orphwys ar alluog fraich yr Ior,
A meiddio byw yn nhir y poethgylch pell,
Heb gyfaill i'th gysuraw yn dy hynt,
Na hynaws gâr i loni 'th feddwl prudd.

Ond wedi bod ym mhellder maith y byd,
Rhwng carlamiadau echrys y march coch,
Yn nhwrf a thrwst rhyfeloedd mawr eu grym,
Lle gwibia 'r bolltau tân o gŵr i gŵr,
I'th gartref daethost o'r peryglon oll,
Yn iach a llawen, i'th fynyddig dud.
A Maenor Deifi oedd yr hoenus fan
Lle 'r aethost nesaf i areilio 'i braidd,
A'th hoff ddedwyddle enwog, Ceri[1] deg,
Drachefn a ddeuai 'n fuan dan dy nawdd.

[1] Ar ol dychweliad Mr. Jenkins o'r India Orllewinol gwnaed ef yn Gapelydd i'w ddiweddar Fawrhydi William y 4ydd, a chyn pen nemawr o amser cyflwynwyd ef i Ficeriaeth Ceri, Swydd Drefalwyn.

Gwanychai teyrnas Satan yn y lle,
A'i chadarn gaer a syrthiodd ar y llawr
O flaen dy ymgyrch yn dy bwysig swydd;
A'th fedr a'th ddawn yn trin hen arfau 'r nef.
Dechreuaist yma olrhain llwybrau dysg,
A chwilio i mewn i hen ddefodau 'th wlad:
Y beirdd a'r doethion a amgylchai 'th fwrdd,
A thlysau 'th genedl a addurnai 'th lys.
O fewn dy annedd clywid lawer pryd
Rai 'n adrodd hanes ein hen eddyl gynt;
Sôn am ryfeloedd fu 'n anrheithio 'r wlad;
Ac fel bu gormes gyd â'i haerwy pres
Yn gwneyd i'r Cymry riddfan lawer oes;
Pa fodd y bu enwogion ar bob llaw,
Yn heriaw 'r gelyn gyda thân a chledd.

Dy lafur di yn offerynol fu[1]
I godi 'r Eisteddfodau yn ein tir;
Y rhai ddygasant i oleuni 'r dydd
Dalentau gwerthfawr fu dan dywyll len:

[1] Efe, a'r diweddar Esgob Burgess, a osodasant i lawr y cynllun cyntaf i adnewyddu yr Eisteddfodau taleithiol a gawsant eu cynnal yn Nghymru ychydig o flynyddoedd yn ol. Canys yn mis Awst, 1818, daeth yr Esgob i Geri pan ar ei daith drwy ei Esgobaeth, ac yma troes yr ymddiddan ar fatterion Cymreig; megis defodau yr oesoedd gynt, Eisteddfodau, a'r cyffelyb. A phenderfynodd yr Esgob a Mr. Jenkins ar wneyd ymdrech i ail ennyn dawn ac athrylith farddonol yn y Dywysogaeth, trwy gynnal Eisteddfodau cylchynol ym mhedair talaeth Cymru. Ac yn yr haf canlynol cynnaliwyd yr Eisteddfod gyntaf yn Nghaerfyrddin, ac yna dilynwyd hi gan eraill ym Mhowys, Gwent, a Gwynedd, &c. &c.

Dygasant ddysgedigion idd ein bro,
Ail disglaer sêr, yn llwybro 'r awyr lâs,
Gan chwalu y cymmylau dudew fu
Yn gaddug tew dros Walia lawer oes.
Mal elusengar borth i feibion dysg,
Anhawdd i Gymru weled byth dy ail.
A'th deilwng enw, Ifor Hael[1] ein tir,
A saif ar gôf tra haul yn llwybro 'r nen.
Dy lys a'th annedd, ail Basaleg oedd,
Lle clywid melus geingciau 'r delyn chweg
A'i mwynion dônau, fel alawon nef.
Y beirdd a'r doethion o bob rhan o'r wlad
A gyrchent yno, lle caent groesaw llon.
Y medd a'r gwin oedd ar y llwythawg fwrdd,
A phob danteithion lonent galon dyn.
Dy ddysg a'th rinwedd, fel y llawryf gwyrdd,
Mewn aur ddalenau a amgylchai 'th ben.
A'th ddeall treiddiawl, a dy synwyr cryf,
A'th wnaent yn amlwg ym mysg blodau 'r oes.
Fel udgorn arian yn cyhoeddi hedd,
Gan alw 'r gwersyll i ddeffroi o'u cwsg,
A dwyn y dyrfa o amgylch arch yr Ior,
Yn Eglwys Dduw y'th welwyd lawer pryd.
Dy athrawiaethau, fel y diliau mêl,

[1] Gelwid ef *Ifor Hael*, o herwydd ei haelioni a'i nawdd i feirdd a dysgedigion ei wlad, a'i annedd a elwid *Basaleg*, sef enw llys *Ifor Hael* enwog gynt, noddwr Dafydd ab Gwilym, ac eraill. Ar yr wythnos gyntaf ym mhob blwyddyn newydd cynnelid yn ei breswylfod *Lys agored* am dri neu bedwar diwrnod o leiaf, a chroesaw i bawb a'i cyrchai, os medrai gyfansoddi englyn, lleisio tôn, neu gyweiriaw telyn.

Bob amser a ddiferent dros dy fin.
Teg feini Sion oedd dy hoffaf fan,
A'r afon ddisglaer red ger gwyddfa Duw.
Pob peth oedd gennyt deflaist oll i lawr
Er lles i ddynion a gogoniant IOR.

Ond angau creulon, gyd â'i ddurfing gledd,
A'th dorai i lawr yn uchder maith dy lwydd;
Tra gwenai natur oll o'th gylch mewn hedd,
A'th glod a'th fawl ar gynnydd nos a dydd.
Ail llachar seren, do'ist i ben dy daith,
Er galar dwys a thristwch mawr i bawb.
Pwy draetha 'r golled i dy dŷ a'th blwyf,
A phawb trwy Gymru, o'th fyn'd i bridd y llan!
Distawodd mwynion leisiau 'r delyn bêr,
A'r côr cerddorawl a ostegai 'u llais,
Pan drengaist ti, orenwog IFOR HAEL!
Dy lys a'th ardal ynt mewn galar prudd;
A'r beirdd trwy Gymru wylant ar dy ol.
Dyryswch ddaliodd dy blwyfolion gwiw,
A gwae a thristwch a orchuddiai 'th blwyf.
Ar ddydd dy gladdedigaeth, rhyfedd oedd
Yr olwg gaed ar bawb yn d'od ym mlaen
I dalu 'r deyrnged olaf i dy lwch.
Plant yr ysgolion, mewn godidog wedd,
Gwyr ieuaingc a gwyryfon yr holl blwyf,
A phawb a allent deithiaw maes o'u tai,
Hyd yr hynafgwyr wrth gynnorthwy 'u ffyn.
Dy olaf gloch wnai lawer archoll ddofn
Ym mhrudd fynwesau dy gydnabod gynt.
A phrin y gwelwyd y fath alar dwys

Ar welltawg lawr un fynwent yn y byd.
O'r braidd nad oedd yr wybr uwch ben yn brudd,
A'r awel wynt yn wylo 'm mrigau 'r coed.
Dy siriol wyneb guddiwyd dan y pridd—
Ffraethineb ar dy enau sydd yn fud.
Y wefus a ddiferai fel y mêl,
Sy 'n awr heb symud yn yr oeraidd glai;
A'r llaw sydd dawel, ac ni chyffry mwy.
Pe moriwn draw at oror India bell,
Lle 'th welwyd gynt yn ail i'r seren ddydd,
Yn ymlid ymaith dywyll leni 'r nos;
Neu pe 'r hwyliwn dros y berwawg fôr,
O'r dwyrain hyd orllewin pell y byd,
Oferedd imi ddisgwyl am dy gael.
Yr hyfryd fron, a gwyrddion lwybrau 'r maes,
Yn awr ynt weigion o dy ddynsawd hardd.
Golygfa brudd lle 'r oedd Basaleg gynt;
A heilltion ddagrau man y rhedai 'r medd.

Cwymp uthrawl dyn, a phechod Eden ardd,
A ddygodd drist farwolaeth yma i'r byd!
Ond er i angau 'th dorri di i lawr,
A throi dy gorph yn fud i'r distaw fedd,
Dy yspryd hwnt esgynai at ei Dduw
O finion tywyll afon angau du.
Caersalem deg, yw dy breswylfa yn awr,
A saint ac engyl yw dy gwmni glân.
Cei yno 'n siriawl chwareu 'r delyn aur,
A gwisgo coron freiniol ar dy ben.
Marwolaeth ddygodd elw mawr i ti—
Ond colled drom ac heb ei hail i ni.

Y cyfiawn a aiff adref at ei Dduw,
Cyn i drallodion ddyfod ar ei wlad:—
Gocheled Cymru rhag ei bod yn nôd
I saethau 'r Arglwydd, a digofaint Ior.
Dyrus a thywyll yw ei lwybrau Ef,
A llawn o droion rhyfedd iawn i ddyn;
Ein deall ni wrth geisio 'u holrhain hwynt,
A 'n llwyr ar goll, heb allu gwybod dim,
Na gwel'd ychwaith mor gywrain yw pob tro,
Na phle terfyna 'r cymmysg mawr difai!

Mor wag a brau yw bywyd egwan dyn!
Fel cysgod gau, neu niwl y cilia draw.
Ail yw i'r llwydrew ar yr uchel fryn,
'R hwn dawdd yn ebrwydd pan gyfodo haul;
Neu lif-ddwfr gwyllt a fyddo 'n llanw 'r nant,
A'r clychau dwfr yn dawnsio ar frig y dòn,
Diflana 'n gyflym fal rhosynau haf,
Neu niwl y boreu 'n croesi llethr yr allt.

Ond bellach tawel hûn fwynhao 'th lwch
Hyd foreu prudd yr adgyfodiad mawr.
Oes ar ol oes ant heibio o un i un,
I dragwyddoldeb, lle terfynant oll.
Ac amser dŷn y galar ar dy ol,
A'r byd â rhagddo etto megis gynt.
Yr haul a gyfyd i oleuo 'r dydd,
A'r lloer a'r sêr siriolant oriau 'r nos:
Yr haf a'r gauaf ddeuant fel o'r blaen,
A chynnwrf fydd drwy barthau pell y byd;
Clefydau marwol gynniweiria 'r tir,

A cherbyd angau deithia trwy y wlad:
Rhyfeloedd welir mewn carlamawg rwysg
Yn dattod rhwymau llawer teyrnas gain—
Ond ti, mewn gwir lonyddwch pur a hedd,
Gei orphwys hirnos angau yn y llwch,
Nes dêl y dydd, a'r gennad i'th ddeffroi;
Archangel Ior rydd floedd ag udgorn Duw,
Nes sigla seiliau 'r greadigaeth faith,
A'r Barnwr ddaw ar ddisglaer gwmwl fry,
Ac engyl tanllyd fydd yn gwibio o'i gylch,
A geilw bawb i ymddangos ger ei fron,
Holl feibion Adda i gyd o fawr i fân:—
Pryd hyn dy babell bridd a ddaw i'r làn,
Yn wisg i'th enaid, mewn anfarwol wedd;
A chyda seintiau glân y'ngwlad y gwawl,
Cei byth orphwyso y'nghymdeithas Ior.

## BEDDROD Y CRISTION.

Hon ydyw 'r oer annedd lle 'n dawel yr huna
  Gwr fu a'i hardd fuchedd yn addurn i'w oes;—
Wrth weled ei feddrod graianog na wyla,
  Gadawodd wlad galar,—rhoes heibio y groes.

Un cofnod ni welir i nodi ei enw,
  A llysiau y fynwent orchuddiant ei gell;
Mae pob peth ar y ddaear 'r un modd er ei farw,
  Ac yntau heb wybod—ond gŵyr beth sydd well!

Blodau y gwanwyn a guddia 'i orweddfan,
  A'i gorph a faluria ym mhriddell y llawr;
A chenedl 'nol cenedl i fynu gyfodan',
  Ac yntau yn dawel a fydd lle mae 'n awr.

Ond amser i'w derfyn yn gyflym ymdreigla;
  Daw awr pan y gedy ystafell y bedd;
O'r arch ac o'r amdo mewn mynyd dadebra,
  Mewn gwisg anfarwoldeb, melltena 'n ei wedd.

Pan eistedd y Barnwr ar orsedd o gwmwl,
  A'i wisg o oleuni, a'i gerbyd y gwynt;
Cyhoedda dynghedfen hil Adda yn fanwl
  Yn ol y gweithredoedd a wnaethent hwy gynt.

A'r Cristion a welwyd yn morio dros dònau
  Y byd a'i drallodion, yn waelaidd ei wedd,
A gludir i'w gartref gan danllyd gerbydau,
  I fyw ym mro 'r gwynfyd heb derfyn i'w hedd.

## YR HAF.

Ti Lywydd natur—Crewr mawr y byd,
Sy 'n cynnal pob peth is ac uwch y rhod;
Rhyfeddawl iawn yw dy weithredoedd oll
I'w canfod drwy y greadigaeth faith.
Olwynion natur—gyda chylchau 'r rhod,
Ynt oll yn troi wrth dy orchymyn di.
Y bydoedd fry, yn yr ehangder maith,
A throellawg gylch yr Haul sydd yn dy law:

Ac wrth y rhai 'n yn gyssylltiedig mae
Tymhorau 'r flwyddyn,—yn eu dirgel dro.
Mae y tymhorau 'r naill ar ol y llall,
Yn datgan mawredd y goruchel Ior;
Ac yn cyhoeddi ei fodolaeth Ef
Hyd derfyn eithaf preswyl dynolryw.
Ar ol i'r gauaf, a'i ystormydd brôch,
Ado ein gwlad mewn anrheithiedig wedd:
Daeth olwyn amser yn ei phrysur daith,
Gan ddwyn y gwanwyn i addurno 'r tir.
Ac wedi hynny 'r haf-ddydd teg ar hynt
O'i ol ddilynai, mewn ardderchog wisg.
Yr Haul ysblenydd ar olwynion aur
Ddynesai attom, o 'stafellau 'r de:
Ac yn ei daith ymlidiai 'r oerni llym
Tu hwnt i ardal oer y pegwn pell.

Mor hyfryd teithio 'n awr ar fin y dydd,
Ac esgyn hwnt i ben cribog fryn;
Gan daflu golwg ar y dyffryn maith
Mewn gwisg flodeuog, dan y perlau gwlith.
Yr Huan welir mal gyrfaol gawr
Yn agor teg amrantau 'r boreu ddydd,
Ac yna teithia drwy 'r ffurfafen faith
Gan roddi maeth a chynnydd i bob peth;
A gwneyd i natur oll ddihuno o'i chwsg.
Y coedydd ynt mewn dail, a blodau heirdd
Yn gwisgo wyneb maith yr ardal lwys;
A chwaon per mal o dir Seba sydd
Yn dyfod attom, drwy y nwyfre chweg.
O Gymru lwysdeg, oror hardd ei drych!

Neud harddach wyt na bro Aonia[1] gynt.
Mor hyfryd yw ym mysg dy fryniau hoff
Cael treulio 'r haf ym mhell o drwst y byd,
Gan chwilio i mewn i waith y Crewr doeth.—
Pinaglau anian sy 'n dyrchafu i'r nen,
Y serth fynyddau gyd â'r bryniau bàn;—
Grisialaidd ffrydiau a ymdreigla i lawr,
A'u trwst adseinia dros y cymoedd draw,
Wrth iddynt lithraw tua 'r dyfnfor mawr.
Y llynau welir megis gwastad wydr,
Neu lawr grisialaidd, yn addurno 'r tir;
Tra nad oes awel yn cynhyrfu eu dwfr.
Heirdd luniau natur welir yma a thraw
Yn llon addurno eu gwynebpryd llathr:—
Y coed, y blodau, ynghyd â llysiau 'r maes,
Y creigiau serth, a'r awyr las o gylch,
Ynt yn ymddangos yn y drychau dwfr.
Yr afon droellawg, yn ei haraf hynt,
Ddolena trwy 'r gwastadedd yn y fro;
Amryliw flodau, gyda gwyrddlas ddail,
A llwyni coed, orchuddia 'i glànau hoff.
Y brithyll chwyrn sydd yma 'i edyn aur
Yn prysur wibio trwy ei hoffus bau,
Fel cyflym saeth y teithia o gwr i gwr,
Gan hollti 'r elfen yn ei gyflym hynt.

Daeth haf deyrnasiad mewn godidog wedd,
A'i fantell werdd, i hardd goroni 'n tir;

[1] Aonia, neu Bœtia, yn Groeg a ystyrid yn breswylfa yr awen yn fwy arbenig nag un rhan arall o'r wlad, o herwydd paham y gelwid yr awenau *Aonides*.

Y deiliawg goed addurnant lethrau 'r fron,
Y gôg a gân o ben y clogwyn draw;
Y wenol chwery o dan des y dydd,
A'r pysg sy 'n prysur wibio yn y llyn.
Yr adar byngciant yn y goedawg fron,
A nythant rhwng canghenau 'r prydferth wydd;
Yr wyn chwareuant ar y mynydd ban,
A'r bugail lefa oddiar y cribog fryn,
Nes seinio 'r nentydd, a chyffrôi y praidd.
Y boreu, cyn cyfodi o ffynon gwres
O wely Tithon,[1] i adloni 'r byd,
Disgyna 'r distaw wlith i lawr o'r nen,
Gan frithaw 'r glasdir, ac arianu 'r gwellt.
A hwn rydd nerth i'r ddaear ac i'w chnwd,
I gynnal gwres ac awel frwd y dydd.
Yr wybren fry heb gwmwl arni sydd;
A'r Haul a gwyd ar ei olwynion aur,
A dechreu 'n brysur deithio uwch y byd,
A'r holl fywiolion welir yn deffroi
O'u cwsg a'u syrthni, wrth ei alwad ef.
A dyn a frysia at ei ddyddiawl waith,
A'r anifeiliaid ynt yn croesi 'r fron.
Y glaswellt îr sy 'n plygu i lawr ei ben
Dan heirdd goronau y defnynau gwlith,
Y rhai fel perlau teg, neu emau drud,
Sy 'n ymddisgleirio dros lannerchau 'r maes.
Yr adar mân oddiar ganghenau 'r coed,

[1] Gwely Tithon. Tithonus yn ol y beirdd cenhedlig ydoedd priod Aurora, yr hwn ydoedd yn oedranus a methiant, ac o herwydd hyn y dduwies a gyfodai bob amser yn foreu, i agor dorau y dwyrain o flaen yr haul.

A'u mwyn beroriaeth sy 'n croesawi 'r dydd;
Y ceiliog bronfraith, a'r fwyalchen fwyn,
A'r per ehedydd yn ei daith i'r nen,
A seiniant fawl, yn hardd ufuddawl gôr,
I'r hwn a'u gwnaeth hwynthwy a phob peth byw.
Yn awr mae gwres y dydd yn brysio 'n mlaen,
Pob peth adfywiant o'u hanianawl gwsg—
A'r gweithiwr tlawd er 's oriau maith cyn hyn,
A aeth o'i fwthyn at ei ddyddiawl dasg,
Sy 'n awr yn ymladd gyd â'r awel frwd,
A'r gwres ym mron a'i lethu yn llwyr i lawr;
Defnynau chwys a redant dros ei rudd,
A'i gylla gwag sy 'n goddef newyn tost;
Ei garpiog wisg ddynoda 'i angen mawr;
Lluosog dylwyth sydd yn gorfod byw,
Gan ddisgwyl beunydd wrth ei ennill bach.
O! doed elusen i agoryd drws
Haelionus deimlad, i'r fath un â hwn.

Os troaf fy ngolygon tu a'r ardd,
Caf yno ganfod rhyfedd waith yr Ior,
Yn gwisgo 'r dail, a'r blodau hardd eu drych;
Y pabi heirdd, a'r isop teg eu gwedd,
Y breilw cochion, gyd â'r rhuddos glwys,
Ynt yma oll yn ferth odidog lu,
Fel yn ymagor i groesawi 'r Haul.
Ac draw mewn cilfach, yn nghwr eithaf hon,
Mae 'r diwyd wenyn wrth eu prysur waith,
Yn casglu lluniaeth erbyn dydd sy 'n dod,
A gauaf duoer, a ddilyna 'r haf.
'Nawr y tyddynwr gyd â'i bladur lem,

Sy 'n prysur deithiaw at y maes gerllaw;
A'r gweision frysiant ar eu hynt o'i ol,
Yn arfog lu—heb arswyd yn eu gwedd:
A'u gloywon eirf hwy gwympant gnwd y tir,
A'r gwellt a syrth o'u blaenau ar bob llaw.
Ceir gwel'd y fro mewn cynnwrf bron i gyd,
A phawb yn brysur wrth eu distaw waith;
Rhai yma a thraw yn casglu 'r gwair ynghyd,
Ac yn ei gludo 'n gyflym i'r un lle.
A'r awyr ddu brophwyda oddi draw
Bod gwlaw cenllifawl agos wedi eu dal;
Pawb dasga ei waith, pob gewyn sydd dan bwys,
Ac ofn y dymmestl dreiddia drwy bob bron.
Yr Haul orchuddir gyda chwmwl du,
A'r wybren lâs a wisga 'i mantell niwl;
A th'w'llwch prudd ymlusga dros y wlad,
Fel pe bai 'r nos yn dechreu ganol dydd.
Y fellten wibia draws y gorwel pell,
A'i bolltau tân a hollta 'r ddudew nen;
A'r daran froch sy 'n rhuo oddi draw
Nes cryna seiliau y mynyddoedd ban,
Ac yn ei thaith ymdreigla etto ym mlaen,
Gan rwygaw holl uchelder maith y nef:
Ei thwrf arswydus sigla gaerau 'r byd,
A chryn y bryniau rhag yr echrys floedd.
Marchoga 'r Mawredd yn yr wybren fry,
A'i gyflym gerbyd sydd yn croesi 'r nen:
A'i chwyrn olwynion yn carlamu draw,
Sy 'n peri 'r cynnwrf drwy ardalau 'r wybr.
Y mellt ymwibiant, naill ar ol y llall;
A gwlaw llifeiriawl ddisgyn ar y wlad.

Yr anifeiliaid ynt yn syn mewn braw,
Wrth glywed trwst elfenau 'r byd ar waith:
A dyn mewn arswyd, gwyd ei olwg fry,
A chryn wrth feddwl am y Gallu mawr
Sy 'n creu y daran, ac yn ffrwyno 'r gwynt.
'Nawr coed yr allt a rwygir gan y mellt,
A'r dderwen fawr sydd yn holltiadau i gyd;
Ei heirdd gangenau ynt yn britho 'r maes,
Nid oes o honi yn awr ond boncyff noeth.
Pistylla 'r gwlaw i lawr o'r uchder maith,
Fel dylif gwyllt yn rhedeg dros y tir;
Cornentydd chwyrn sy 'n rhuthro i lawr yr allt,
Tros y clogwyni a'r rhaiadrau certh,
Gan ruo a chwiban yn agenau 'r graig.
Yr afon fawr sydd yn y dyffryn draw,
A chwydda dros ei glenydd o bob tu,
Ac a ysguba bob peth sydd o'i blaen
I goll a dinystr, lle na'u gwelir mwy.
Gwel yr amaethydd, tra 'n ei annedd glyd,
Gnwd teg ei faes yn nofio gyda 'r llif;
A'i anifeiliaid a amgylchir gan
Y dyfroedd mawrion, yn y wastad ddôl.
A'r cenllif gwyllt sy 'n bygwth llawer tŷ
A dadymchweliad, caria gnwd y maes.

Mantellau duon a chymmylau 'r nen
A yrrir yn eu hynt i'r deau pell;
A'r dydd adlona, adnewydda ei wên,
A'r wybren ddengys ei hasurawl wedd.
A'r Haul, 'nol iddo unwaith fyn'd o'n gwydd,
Trwy ystod y terfysglyd ruthrgyrch mawr,

Sy 'n dechreu llwybro mewn adfywiol wedd.
A natur oll a welir fel o'r blaen;
A'r gwlaw a roddes adnewyddiad gwedd
I'r gwellt a'r llysiau, grinid gan y gwres.

Fel hyn mae Duw, yn ei ardderchog drefn,
Yn gwneuthur pob peth mewn doethineb mawr:
A gyr y mellt, a'r t'ranau yn eu tro,
I buro 'r awyr a ffrwythloni 'r tir.
Y maesydd eang welir ar bob llaw
Yn cael eu llenwi gan haelioni 'r Ior;
Yr ŷd sy 'n crymu ei doreithiog ben,
Tra yn cynnyddu yn y dwysen lawn,
Ac fe'i haddfedir gan y gwynt a'r gwres
At y cynhauaf sydd yn awr wrth law.

Mae heddyw etto wedi d'od i ben,
A'r Haul sy 'n suddo hwnt yn ngwely 'r lli',
Gan droi y gorwel megis rhidens aur,
Wrth iddo adael bryniau 'n gwlad o'i ol,
A myn'd i 'mweled â'r gorllewin pell.
Fel hyn mae amser yn dirwynu 'm mlaen
Holl ddyddiau 'n heinioes, naill ar ol y llall,
A phob peth lyngcir ganddo cyn pen hir
I dragwyddoldeb maith, a di ben draw.

## Y DYMMESTL.

Ar deg forau dorau 'r dydd
Agorynt wybrawl gaerydd
Y pell derfyngylch, cylch cain
Daearol barthau 'r dwyrain.
Claerbryd haul a'i araul wawr,
Gyrai goruwch ein gorawr;
O! euraidd rodau eres!
Nefawl fyd o danllyd des!
Gyr ryfeddol fywiol faeth
I y deg greadigaeth.
Rhesenog liw rhosynaidd
Yna drwy 'r eigion a draidd;
A phob glyn, dyffryn a dôl,
A 'n Saron, wenau siriol.
E byngcia y mwyn bencerdd
O'i big, yn y goedwig werdd:
Pan gana gogleisia 'r glust,
Di-glo a fydd pob dwy-glust.
Lledir hwyliau 'r llongau llawn,
A nofiant wyneb Neifiawn.
Hwyliant dros wely 'r heli,
Rhwygant a lluchiant y lli'.
Mae natur yma o neutu
A'i gwen yn hynod o gu.

Newidia a dna 'r dydd,
O! fyr addien foreuddydd!
Nodau o gyfnewidiad
Geir ar lwys gyrau 'r wlad.
Mae cryndod garwnod o gur
Yn neutu olwyn natur.
Y deifiawl wynt sy 'n dyfod:—
Tymmestl ddu o'n deutu 'n dod.
Ai Eolus sy 'n hwyliaw
'R erch gorwynt a'i drowynt draw?
Gan agor y dur ddorau
Gauent ar eu carchar cau?
Nage, Ior y Ne yn awr
Draw enfyn dymmestl drinfawr;
Y Duw wnaeth ddaear a dwr
A eilw, uchel Reolwr,
Lu anian îs y loyw nef,
Ufuddhant i'w foddhau Ef;
Ar ei enwog air union
Ymchwydda ymdyra 'r dòn:
Dawnsia 'r gwynt ar hynt drwy 'r nen
Ar abraidd gyrau 'r wybren:
A'r awel groch a rua,
Y goedwig yn ysig wna.
Euraidd wynebpryd araul
A gloywbryd y tanllyd haul,
Mewn du gwmwl dwl amdôdd;
Caddug o niwl a'i cuddiodd.
Cwmwl ar gwmwl yn gwau
O'r dwyrain geir fawr dyrau.

Tywyllwch a mwllwch mawr
Yn unol dros y nenawr.
Y môr a'i fryniau mawrwyllt
Ymddyrchynt gan gorwynt gwyllt,
E gura 'i greigiawg oror;
Dyrnod ar ddiddattod ddor:
Curwlaw sy 'n ffrydiaw 'n ffrom,
E ddyrna 'r tô addiarnom;
A chenllysg gan derfysg dirfawr
Ddaw ar led y ddaear lawr.

Mae 'r awyr yn ymruaw
A drych arswydol sy draw.
Pob elfen o nen a nant
A'u trogylch ogylch wgant:
Diwreiddir, chwelir yn chwyrn
Y coedydd mwyaf cedyrn.
A mellt sy 'n chwyrn ymwylltiaw
Gan hollti y deri draw.
Ac rhwng bolltau tidau tân
Teryll, y bloeddia taran;
Rhwyga ei llwybr trwy 'r wybren,
Sigla a chynhyrfa 'r nen.

Yn awr mantellau y nos
Ymdaena, a min dunos:
Trenga cudeg wawr deg dydd
O dan eu du adenydd.
Y gwyntoedd o gylchoedd gwawr
A dyrfant, mewn rhoch dirfawr,

Uwchben, trwy 'r graig chwibanant
Wrth yrru yn neutu 'r nant.
Y llongau dros dònau i'r daith
A mawrdwrf, droent i'w mordaith,
I'w mysg, gan derfysg dirfawr,
Angau du sy 'n nesu 'n awr;
E rwyga dorau 'r eigion,
Ymluchia ymdafla 'r dòn:
Arswyda llewyga 'r llawr
Gan dwrf ac yni dirfawr.
Llong ar ol llong trwy 'r lli'
Dirwynir i drueni:
Tònau 'r trochionfor tanynt
Mewn ymladdfa gyda 'r gwynt.
Ac eilwaith fe â 'r daran
A'i byllt, trwy 'r ehangder bàn.
Tywynfa a bro 'r tânfellt,
Lle gyr Ion ei fawrion fellt,
Gwna y lwysaidd gain laswybr
Yn fflamiawg oleuawg lwybr.
Beth yw 'r cur sy 'n neutu 'r nen
A dorrodd cylch daearen?
Ai 'r hoywddestl ser o'u haddef
Yn awr a gwympant o'r nef?
O'r llawr rhuadlawr redli
A llef dychrynllyd y lli,
Sy 'n rhuo drwy gyffro gwyllt
O gyrau ceunant gorwyllt.
Angau, a golwg ingol,
Sydd dros fryn dyffryn a dôl:

A'i faner fawr anfonodd
A thònau 'r dyfnderau dôdd,
A'r ddaear; ni bu fâr fwy,
Ah! nodiad dychrynadwy!

Edrychodd Duw ar drochion
Dylifol dyfnfol y dòn;
Rhuthrau 'r dyfnderau dig,
Rhuadau 'r môr berwedig.
Llefarai, gostegai 'r dòn,
A rhwygawl fryniau 'r eigion.
A mwriawl gyrch y mawrwynt,
Mewn marwol elynol hynt,
Ddaliodd, e'i cludodd mewn clo
I'w ddwrn, a chauodd arno.
Diorfod ydyw arfaeth
Ein Ner yn y cwbl a wnaeth:
Ei rymmus fraich a rwymodd
Y tònau, mewn clymau 'u clodd:
Gwynt nef, a'i reol hefyd,
Wrth ei air a gair i gyd.
Ei deilwng arch hybarch Ef
Derfynodd dwrf y wiwnef:
O y frwd fawr ddifrodaeth
Yn dawel dawel y daeth.
Gwel yr haul, cu araul cain,
Yn agor dôr y dwyrain.

Teithiaf, golygaf y wlad:
O archollfriw! Erchyllfrad.

Ol sydd o fynydd i fôr
O'r demmestl, a'i byr dymmor.
Mawr foroedd a llynoedd llif,
A dolydd dan y dylif!
Rheiadr gwyllt gorwyllt guriad
Dyrua 'i lef drwy y wlad:
Bwthyn ar ol bwthyn bydd
Yn benoeth i'w wel'd beunydd.
Draw yna gwel drueiniaid
Rhwng drylliau llongau mewn llaid:
A morwyr yn gyrph meirwon
Ar fingylch dyfrgylch y dòn.

## EMYN

A GYFANSODDWYD AR DDYDD YMPRYD YN Y FLWYDDYN 1832, PAN OEDD Y *CHOLERA MORBUS* YN Y WLAD.

Ti, Arglwydd Ior y ddaear lawr,
  A Llywydd mawr y bydoedd;
Sy 'n anfon barn ar deulu 'r byd
  Am bechu, ar hyd yr oesoedd.

Ystyried ddylem farn ein Duw
  Wrth fyw, nid ymgaledu;
Ei feirch arswydus oddi fry,
  Ar Ewrob sy 'n gweryru.

Cydymddarostyngwn oll i'r llwch
  Mewn tristwch, ac mewn galar;
A Duw a dry y barnau draw
  Sy 'n llwybraw dros ein daear.

Anrhydedd rhown i Dduw bob pryd,
  I Lyw y byd boed moliant;
I'r Tad, a'r Mab, a'r Yspryd Glân,
  Ar gân, rhown oll ogoniant.

## GALARNAD

### AR FARWOLAETH SYR WATKIN WILLIAMS WYNN, BARWNIG, A. S. WYNNSTAY.

Testun Eisteddfod Llerpwll 1840. Barnwyd y Farwnad hon yn fuddugol.

PAN guddiai yr Huan tanbeidiawl ei ben
  Tu hwnt i groch weilgi 'r dyfnderoedd,
Tywyllwch ymdaenai 'r pryd hyn dros y nen,
  A'r ddunos gofleidiai 'r dyffrynoedd.

Y wenlloer arianaidd ganfyddid o draw,
  Yn nghysgod y bryniau 'n cyfodi;
A thrwst yr afonydd, trwy 'r nentydd islaw,
  Attebid gan adsain y llethri.

Holl adar y goedwig, a'r wlad oedd yn awr,
Yn hunaw mewn hedd a llonyddwch;
A dyn ac anifail orweddent i lawr
Dan nosawl fantellau 'r tywyllwch.

Pryd hwnnw mewn prudd-der, eisteddai y Bardd
Yn nghysgod hen gromlech unigawl;—
A thremiai ar natur,—o'i ddeutu mor hardd,
Gan eiliaw prudd gân alarnadawl.

Ei ddagrau i'r ddaear a redent yn lli,
A'r creigiau attebent ei gwynion,
Gogoniant bro Gwalia, ei haddurn a'i bri,
Oedd testun ei drist ocheneidion.

"Mae mantell ddu angau yn awr yn gordoi
Fy ngwlad enedigol, Och!" meddai,
"Llawenydd a mwyniant am byth wedi ffoi,
Cymmylau o wae a'i gorchuddiai.

Syr Watkin[1] orenwog, anrhydedd fy mro,
Gan ddyrnod marwolaeth a gwympodd;
Rhyw ddylif o ddagrau dywelltir bob tro
Gwneir coffa o'r wylofus ymadrodd.

[1] Y diweddar Syr Watkin Williams Wynn ydoedd y pummed Barwnig o'r teulu. Y cyntaf ydoedd Syr William Williams, Llefarydd Tŷ y Cyffredin yn amser Siarl yr ail, a Dadleuydd Cyffredinol i Iago yr ail, ynghyd â *Recorder* Caer. Dywedir iddo ennill ei wraig, sef Miss Kyffin o'r Glasgoed, trwy 'r medr a ddangosodd wrth ddadleu achos ei thad yn

Bu llawer trwm newydd yn ystod fy oes,
Fel saeth yn trywanu fy nghalon!
Er hynny ni theimlais erioed y fath loes
A marw prif flaenor y Brython.

Meddyliais bod natur yn brudd fel fy hun,
Y diwrnod y clywais y newydd;
Y bryniau yn gwisgo 'u galarwisg bob un,
A niwl yn gorchuddio pob mynydd.

Hefyd bod Dyfrdwy[1] yn rhedeg i lawr,
Ac fel yn wylofain am dano;
A'r wybren ysblenydd yn bruddaidd ei gwawr,
A'r Haul dan gymmylau 'n ymguddio.

E dreiddiodd y galar i bob rhan o'n tir,
Pob annedd, pob bwthyn, a phalas,
O herwydd y golled, galarant yn hir,
Hyd gyrau pellenig y deyrnas.

Mrawdlys yr Amwythig; a chyda hi y cafodd y meddiannau helaeth a ddaeth i'w ran. Y diweddar Syr Watkin oedd fab y pedwerydd Barwnig o'i ail wraig Charlotte, yr hon oedd ferch yr Anrhydeddus George Grenville, a ganwyd ef y 26ain o Hydref, yn y flwyddyn 1772. Dilynodd ei dad fel Barwnig yn y flwyddyn 1789, pan nad oedd ond 17eg oed. Cafodd ei ethol y tro cyntaf i gynnrychioli Swydd Ddinbych yn y flwyddyn 1794, a pharhaodd i'w chynnrychioli hyd ddydd ei farwolaeth.

[1] Dyfrdwy, un o afonydd penaf Gogledd Cymru, yr hon sydd yn cychwyn o Lyn Tegid, ac yn rhedeg heibio i Gorwen, Llangollen, a gerllaw Wynnstay.

Fel noddwr ei genedl, fel hoffwr ei wlad,
Byth mwyach ni cheir ei hefelydd;
Bu ef i'r D'wysogaeth trwy 'i oes megis tad,
A'i fawrglod fydd yddi 'n dragywydd.

Ei serch, a'i haelioni, bob amser a fydd,
Mewn côf, tra rhuo yr eigion;
A'i enw yn glodfawr, tra Huan y dydd
Yn mesur y flwyddyn â'i droion.

Ym mhob man lle 'r elai, yr un ydoedd e,
Ei genedl a'i wlad oedd ei hoffder;
A'i enaid gyd-g'lymwyd â'r rhai 'n ym mhob lle,
Eu lles oedd yn unig ei bleser.

Mewn rhyfel a therfysg,[1] ar faesydd y gwaed,
Bu 'n ymladd dros freintiau ein teyrnas;
A miloedd y gelyn a fathrai dan draed,
Yn niwrnod yr echrys alanas!

Fel corwynt dwyreiniawl yn rhuthraw ar hynt,
Gan dorchi dig dònau 'r dyfnderoedd;
Neu fflamau difäol a chwytha y gwynt
Trwy 'r goedwig ar lethr y mynyddoedd;

[1] Cododd fyddin o wŷr meirch ar ei draul ei hun yn amser y gwrthryfel yn yr Iwerddon, ac aeth drosodd yno gyda hwynt, a bu yn hynod o wasanaethgar er attal i'r gwrthryfel fyned rhagddo.

Neud felly y gwelwyd prif wron ein gwlad,
Ar diroedd meillionog Iwerddon,
Yn rhuthro mewn digter ym mhoethder y gâd,
Dros fryniau o gyrph y marwolion.

Y gelyn a gofia am oesoedd, mae 'n wir,
Am ddewrder dihafal y Cymro;
Ac arswyd a dychryn a dreiddia trwy 'u tir
Y fynyd y sonir am dano.

Pan hefyd o Elbe,[1] dros frig y werdd dòn,
Mewn bâr y dihangai Napoleon;
Gan ddeffro holl Ewrob, a dychryn pob bron,
A banllef rhyfelawg elynion:

Syr Watkin a'i ddewrion, gynnygient help llaw,
Er lluddias hyll orthrwm y gelyn;
A gwron hen Gymru, heb ddychryn na braw,
A godai ei gledd yn ei erbyn.

Nid trwst carlamiadau ofnadwy 'r coch farch,
A allai arswydo 'r Brythoniaid;
Nag angau, tra'n bloeddio, 'Par'towch iddynt arch,'
Ddychrynai 'r Cadfridog a'i ddeiliaid.

[1] Syr Watkin, ynghyd â'i fyddin, a gynnygiasant eu gwasanaeth gwirfoddol pan ail ddechreuodd y rhyfel gyda Ffraingc, ar ol i Napoleon Bonaparte ddiangc o ynys Elbe.

Ond bellach ni welwn y gwron yn hwy,
Yn rhodio ym mysg ein mynyddoedd;
Er gwaedu calonau o erthyb y clwy,—
Er ochain a chwynfan o filoedd!

Llênyddiaeth ein brodir ni fydd megis gynt,
Na 'r awen ychwaith, yn blodeuo;—
A'r gwr a fu 'n gysgod i'r gwan rhag y gwynt,
Sy 'n awr yn ngwlad angau yn huno.

Wrth weled ei ardeb[1] ar bared fy nhŷ,
Daw hiraeth a galar i'm llethu;
A chofio am y wyneb, mor siriol a chu,
Sy 'n mynwent Rhiwabon yn pydru!

Yr hwn a fu 'n enwog fel noddwr ein hiaith,
A'n Llywydd mewn llawer Eisteddfod;[2]
A'n prif gynnrychiolydd[3] dros dymmor tra maith,
O'n gwyddfod ddiflanodd fel cysgod.

Y weddw a'r amddifaid a'u llygaid yn lli,
A dremiant yn aml at ei annedd;
A'r bryniau a'r nentydd a lanwant a'u cri,
Pan welant y fynwent lle gorwedd.

[1] *Portrait.*

[2] Bu Syr Watkin yn fynych yn y swydd o Lywydd ar y gwahanol Eisteddfodau a gynnelid yn Llundain; efe hefyd ydoedd Llywydd yr Eisteddfod fawr a gynnaliwyd yn Ngwrecsam yn y flwyddyn 1820, ac un arall a gynnaliwyd yn y Bala ar ol hynny.

[3] Bu yn cynnrychioli Swydd Ddinbych, fel y crybwyllwyd yn barod, dros y rhan fwyaf o'i oes.

Wrth ochr y llwyn didryf[1] â'i law dan ei ben,
Mewn tristwch, ceir gwel'd yr amaethon,
A'i lygaid ni chyfyd ef unwaith i'r nen,
Gan alar sy 'n llanw ei galon.

Y mynyd y clywodd y fath newydd prudd,
Anghofiodd ei offer hwsmonaeth;
'Fy Meistr wedi marw! Och!' meddai, 'beth fydd!
I lawr e aeth haul y d'wysogaeth.'

Y twr[2] ar Foel Famma, tra 'n cyfarch y nen,
Gan heriaw y ffrochwyllt gorwyntoedd,
Dd'wed bod ei sylfaenydd yn isel ei ben
Wrth bawb o breswylwyr y glynoedd.

A hwn yn ddiammeu all sefyll yn hir,
I goffa rhinweddau ein brenhin;
Ond bellach, lle bynnag ei gwelir trwy 'n tir,
Y meddwl a red at Syr Watkin.

Ei hŷn[3] oeddynt enwog, o gedyrn ein bro,
A phrif lwythau Gwynedd yr hanodd;
A phob un o naddynt er's oesoedd cyn co',
Ei wlad enedigol enwogodd.

[1] *Lonely.*

[2] Cyfeirir yma at y Twr a gyfodwyd ar Foel Famma, yn Swydd Ddinbych, i goffa y Jubili a fu ar y ddegfed flwyddyn a deugain o deyrnasiad ei Fawrhydi Sior y Trydydd, carreg sylfaen yr hwn a osodwyd i lawr gan Syr Watkin, ac Arglwydd Kenyon.

[3] *Ancestors.*

Fel treigla yr afon ddolenawg i'w hynt,
  Gan chwyddo pan bellaf y rhedy,—
Neu dderwen uchelfrig a sigla y gwynt,
  Nes peri i'w gwreiddiau ymledu;

Fel hyn ei hiliogaeth, drwy droion y byd,
  A chyflym dreigliadau blynyddoedd,
A geir yn enwoccach, enwoccach o hyd,
  A'u clod a chwanegir gan oesoedd.

Trist iawn fu 'r ymweliad, ac uchel y cri,
  Pan syrthiodd ei briod[1] yn angau!
Ond hyn oedd ddechreuad trychineb i ni,
  Rhagflaenydd ystorm ein gofidiau.

Pan droaf fy ngolwg 'nawr tua 'i hoff sedd,
  Y fan lle teyrnasai llawenydd,
Llys Ifor,—lle gwlychid y byrddau â medd,
  A chyrchfan enwogion y gwledydd.

O drist gyfnewidiad! Mae galar a chri
  Yn llenwi 'r godidog neuaddau!
A'r byrddau, lle rhedai y gwinoedd yn lli,
  Yn awr a ddiferant gan ddagrau.

Gostegai cerddoriaeth,—y bardd teulu sy 'n fud,
  A'r delyn anghofia 'i halawon;
A phobl yr ardaloedd a gyrchant yn nghyd,
  I wylo uwch ben ei weddillion.

[1] Bu farw y Bendefiges Harriet Wynn yn y flwyddyn 1835, gwel tu dalen 13.

Y ddawns a'r llawenydd a gaed lawer tro
  I goffa ei ddydd genedigaeth,
'Nawr droed yn wylofain a thristwch trwy'r fro,
  Wrth gofio am awr ei farwolaeth.

Mor wag yw ein heinioes, twyllodrus a brau
  Yw bri a gogoniant plant dynion;
A'r byd a'i orwychder nid ydynt ond gau,
  Teganau i foddio 'r golygon.

Nis gall na meddiannau, nac enw, na chlod,
  Ddwyn neb o afaelion marwolaeth;
Yr uchel a'r isel, heb ragor yn bod,
  Gymmysgant ym mro llygredigaeth.

Nid lles na rhinweddau 'chwaith all gadw draw,
  Drwm ddyrnod arswydus yr angau;
Ni wrendy ar ymbiliau, lle bynnag y daw,
  Mae 'n fyddar i och a griddfanau.

Pe gall'sai rhai'n lwyddo, ni chawsem byth fod
  Heb feddu 'n gorenwog Syr Watkin;
Ond llys y pendefig mor aml ydyw nod
  Saeth angau, a bwth y cardotyn.

Dydd rhoed ei weddillion i orphwys mewn hedd,
  Fydd byth yn gofiadwy yn Nghymru,
A'r lluoedd a welwyd o amgylch ei fedd
  Yn wlybion eu gruddiau 'n galaru.

Preswylwyr y frodir dda'i 'nghyd o bob man,
I weled y bruddaidd olygfa,
A'u Noddwr ddilynent hyd fynwent y llan,
A phrin y gadawent ef yma.

Yr hen a'r methiedig ymdeithient ym mhell
I wlychu ei elor â'u dagrau;
A'r plentyn amddifad adawai ei gell
I wisgo ei feddrod â blodau!

A hwythau 'r llafurwyr anghofient eu gwaith,
A'r aradr a rydai 'n y ddaear;
A'r holl anifeiliaid oedd fel yn eu hiaith
Yn dangos arwyddion o alar.

Ei drist weinidogion, yn bruddaidd eu gwawr,
A dremient o'i ol o'r ffenestri;
A'u meistr yn iach canent tra 'n myned yn awr
I daith na ddychwelai o honi.

Ei brudd gloch alarnadawl archollai bob bron,
A chludai drwm newydd i filoedd;
A phawb a wrandawent mewn trymder ar hon,
Tra 'n seinio 'n alarus drwy 'r glynoedd.

Ei gorph roed i orphwys hyd foreu dydd brawd,
Yn nghladdfa[1] ei enwog gyn-dadau;
Yn nghanol och'neidion bonheddig a thlawd,
A chwynfan wylofus ugeiniau.

[1] Sef yn Rhiwabon, mynwent Eglwys y plwyf.

Y pridd fyddo 'n ysgafn orphwyso ar ei fron,
Angylion a wyliont ei feddrod;
Hyd nes delo 'r amser i'w ddwyn o'r fan hon,
A rhoddi iddo o'i garchar ollyngdod.

Ni raid wrth gof golofn i goffa y lle
Mae penaeth y Brython yn huno;
Y fan fydd yn enwog, tra daear a ne',
A'i rinwedd yn feddfaen fydd iddo.

Ei fab a ddilyno, trwy ystod ei oes,
Holl ffyrdd ei anwyldad a'i lwybrau;
A threulied ei fywyd, heb drallod na chroes,
Mor glodfawr ac enwog ag yntau.

Duw nef fo 'n amddiffyn i hwn ym mhob man,
Ac yntau fo 'n gefn i'r d'wysogaeth;
Pob llwyddiant drwy 'i einioes fo 'n dyfod i'w ran,
A gwyn fyd ar ol ei farwolaeth.

Boed llwch y Barwnig yn hunaw mewn hedd,
Hyd ganiad yr udgorn diweddaf;
Nes gwelir holl anian yn newid ei gwedd,
A'r Haul yn cyfodi 'r tro olaf.

Pryd hwnnw ceir gweled pob mynydd a bryn
Yn treiglo oddiar eu sylfaeni;
A'r byd i'w ganolbwngc fel deilen a gryn,
A'r creigiau gan wres fydd yn toddi."

Y sêr a fachludent, a merch deg y dydd
  Gyhoeddai ddyfodiad yr Huan;
Y Bardd a ddiflanodd, a minnau yn brudd
  Adawyd yn unig fy hunan.

## Y GREADIGAETH.

  Hynotaf Grewr natur,
A phob gwaith yn berffaith bur;
Creawdydd a Llywydd llad
Y ddaear fawr yn ddiwad,
Yw lluniwr pob lle, hynod,
Trag'wyddol, anfeidrol Fod.
Y gre'digaeth helaeth hon,
Cofier, a wnaeth Ior cyfion;
Y bodau ban, a'r bydoedd
I gyd, trwy y nen mae'n goedd;
A gwirfaith wyneb garwfor,
Holl bysgod, a milod môr.
Onid Duw a'u gwnaeth hwynt oll,
A'u diogel le digoll;
A chwyldaith haul uchelder,
Holl gylchoedd gorsafoedd ser?
Mewn chwe diwrnod, hynodwaith,
I gyd gorphenodd y gwaith!

  Lledodd, e daenodd y de'
A'i goglud ar y gwagle;

A'r gorllewin a'i llinell
I bwnc y ddaearen bell;—
A'r dwyrain, wiw gain ei gwawr,
A'r gogledd ar y gwaglawr.
Holl luoedd y bydoedd ban
Mal eres demlau arian,
Crogedig fro Caergwydion,
Ail brig ewyn dig y dòn,
A'r huan a'i lân oleuni,
Bywyd a nerth ein byd ni,
Goleuydd pob broydd prid,
Marworyn liw mererid;
Y ser, a'r fro asurawl,
Sydd ini yn gweini gwawl,
Eres ddrychau o arian,
Y bydoedd a'u cylchoedd càn,
Ddengys yn hysbys i ni,
Coeliwn, ol bysedd Celi.

Gwelem, pe edrychem dro,
Ucheldrem, ar eu chwyldro,
Fydoedd, ar gylchoedd gwawr,
Mil miloedd uwch pob maelawr;
Heuliau, lleuadau lliwdeg,
Yn gweini dydd â'u gwen dêg.
Drwy'r ffurfafen ysblenydd
Seren goruwch seren sydd;
Gwregysau golau gwelir
Drwy feithdra'r ehangdra hir,
A dysglau arian disglaer,
Amgylchant, guddiant y gaer.

Y cydser[1] sy 'n uchder nen,
Anolo, uwch y niwlen;
Y denawl *Eridanus*,
A graid *Hirundo*, a *Grus;*
*Arcturus*, *Aquarius* cain,
Goreudeg gylch, goradain;
*Canis Minor*, ac *Orion*,
Ddysg ryfedd fawredd fy Ior.
Aneirif luon ereill
Yn eu lle, o gylch y lleill,
Sydd o ser, yn uchder nod,
A'u hanes i ni 'n hynod.
Planedau,[2] a'u cylchau cain,
Drwy fro yr wybr der firain,
*Mercher*, a *Mawrth* mawrchwyrn,
Yn chwai yn eu cylchoedd chwyrn;
*Sidus*, a'r blaned *Sadwrn*,
*Iau*, *Gwener*, a ser yn swrn;
Rhyw fydoedd uwch rhifedi
Ein deall gwan, hyball ni.
Pelydriad pob g'leuad glwys
O'u gwirffyrdd, nid yw 'n gorphwys,
Y nos danfonant i ni,
Eu glanaf deg oleuni,

[1] *Constellations.* Y ser a ganfyddir yn wasgaredig ar hyd wyneb y ffurfafen, oddigerth y planedau, a ddosperthid gan yr hynafiaid i wahanol gydser, neu gyd-gynnulliad o ser. Ac i'r diben o'u gwahaniaethu, bu iddynt eu dynodi gyd âg enwau anifeiliaid a phersonau enwog yn yr amseroedd gynt, &c.

[2] Y planedau ydynt yn wahanol i'r ser eraill, am eu bod yn ymsymud ar wyneb y ffurfafen, ac nid ydynt yn ymddangos bob amser yn yr un sefyllfa yr un modd â'r ser sefydlog.

O y wiwnef, dan wenu,
I'n dwyn o dywyllwch du;
A chàna eu llewyrch unol
Bob bryn, a dyffryn, a dol;
Ariana, bob rhyw ennyd,
Ddyfroedd ac aberoedd byd.

Pwy mewn bod all ganfod gwaith
Ein Ior hynod ar unwaith?
A all dyn, sydd bryfyn brau,
O gel, ei ddwyn i'r golau?
Yn nes, pe deuem yn awr,
Drwy lethri 'r wybr der lathrwawr,
O uchder y ser, i sôn
Eilwaith am ddaearolion;
Dros led y byd gweledig,
A goror y dyfnfor dig.
O hyd drwy y byd a'i bau
Ceir canfod rhyfeddodau,
Miloedd o chwai gymmylau,
O gylch drwy 'r awyr yn gwau;
Hylaw, yr ant i'w helynt,
Yn eu gyrfa gyd â'r gwynt.
Eira a gwlaw, ar y glyn,
Arswydawl, a rhew sydyn;
Mellt fforchawg o didawg dân,
Neu deryll folltau 'r daran.
Corwyntoedd y nefoedd nawd
Yn dirwyn, uwch daearawd;
A hynotaf drefn natur,
Is heulrawd yn barawd bur,

Yna i ni anfonai Ner,
Gorenwog Lyw, Goreuner.
Gwylltion fwystfilod gelltydd,
Rhai rodiant, deithiant y dydd;
Anifeiliaid yn filoedd
Sy 'n teithiaw, neu 'n gwibiaw 'n goedd;
Anfonodd, yrodd yr Ion,
O'i ddaioni i ddynion.
Mynyddau uwch banau 'r byd,
Coeliwn, a'r creigiau celyd,
Yn gadwynau gydunant,
Ail gwregysau, gylchau gant.
Y dolydd gwyrddion deiliog,
Is banau y creigiau crog;
Y per lysiau pur lwysion,
A harddant frithant y fron;—
Holl adar cerddgar y coed,
A'u mwyngân yn y mângoed;—
Hwy 'n filoedd a iawn folant
Eu Ner doeth, ar dyner dant.

Y môr, a'i dònau mawrwyllt,
Ac eigion y wendon wyllt,
Terfyn a nod osodwyd
I'w ferwddwfr, a'r llifddwfr llwyd;
Er rhuo a llwybro 'r llaith,
Trosto ni ddaw mewn trystwaith;—
Pob rhan deg dan wancgau[1]
Y môr gwyllt, a'i burwyllt bau,

[1] *Waves.*

A huliwyd yn ehelaeth;—
Llaw ein Ner pob llu a wnaeth
O ymlusgiaid, aml osgo,
Deithiant, ymgreiniant mewn gro.
Yr ëogiaid drwy 'r eigion,
Sy 'n chwarau dan deithiau 'r dòn;
Y Dolphin dibrin ei daith,
Hen Ddera[1] a'i ddihirwaith;
Yr Afangc[2] creulon gwangcus,
O fraw ni ddiangc ar frys;
A chiwed heb heb rifedi
Sy 'n preswylio, llwybro 'r lli.

Llaw yr Ion i bob lle 'r aeth
I hulio 'r ddaear helaeth;
Creu pob peth yn ddifethu
Yn ddoethlân, yn burlân bu;
A gosodai ddifai ddyn
Diwyrni, 'n llyw da arnyn'.
Rhyfeddod, bob rhyw foddion,
Ydyw gwaith godidog Ion;
Gwnai ser yr uchelderau
I gyd, drwy 'r ehangder gau;
Mân dywod, main a daear,
Milod gyd âg ednod gwâr;

[1] *Shark*. Y creadur hwn sydd angenfil creulon ac ysglyfaethgar, yn preswylio amryw barthau o'r môr, yn enwedig yn y gwledydd poethion. Rhai o honynt ydynt yn meddu ar y fath safn a gwddf anferth o faintioli, fel ag y gallant lyngcu dyn grymus yn gyfan; a dywedir i ddynion yn fynych gael eu canfod yn eu crombil, wedi iddynt gael eu hagoryd.

[2] *Crocodile*.

A'u gosod wnaeth yn gyson,
Yn eu lle i weini 'n llon.
Y lleuad, haul a lluoedd
Y nef i gyd, Duw Naf yn goedd
Fu 'n gosod eu cylchrodau
Tröellawg, i wibiawg wau.
Deddfau, a rheolau 'r rhain,
Eu cyrhaedd, nis gall cywrain;
Yma y pall deall dyn,
Hi huddir mewn anoddyn.[1]

## PRYDDEST

### AR Y DYWYSOGES VICTORIA.

Testun Eisteddfod Caerdydd, 1836. Barnwyd y Bryddest hon yn fuddugol.

AÖANIA gwlad Brydain, mynyddawg dir Gwalia,
Deffroed dy accenion i'n tirion Victoria;
Ein henwog D'wysoges, ei henw fawrygir
Tra Haul yn pelydru ar fryniau ein brodir.
Na sonied y beirddion am Helen[2] yr oesoedd,
Myfyrdod yr awen, a llid rhwng brenhinoedd;

1 Nid oes neb yn gallu deall pa fodd y mae bydoedd y ffurfafen yn effeithio ar y naill y llall, pan nad oes yr un cyssylltiad amlwg i'w weled rhyngddynt; a pha fodd y mae yr egwyddor ryfeddol hòno, sef pwys a thyniad, yn effeithio ar y ser a'r planedau nes eu cadw yn eu gwahanol gylchrodau, a'u huno gyd â'r naill y llall.

2 Helen, merch Tyndarus brenhin Lacedæmon, a gyfrifid

Ei henw a'i moliant dan gwmwl a erys,
Wrth son am Victoria, hawddgarwch ein hynys.
Os teg ydyw 'r rhosyn, pan gyntaf daw allan,
A'i wisg yn amryliw gan borphor ac arian;
Os prydferth y lili, dan wlithoedd yr wybren,
Pan wena ei blodau ar wyneb yr haulwen;
Mwy prydferth Victoria yn ngwanwyn ei dyddiau,
Ei thegwch ddifera gan *fyrr* ei rhinweddau.
Caiff fynwes y deyrnas a'i braich i'w chofleidio,
A gwenau ei deiliaid ym mhob man lle delo;
Yr holl ymerodraeth mewn serch arni wena,
Fel mam yn cusanu ei baban anwyla.
Ein tir a aroglodd gan falm ei grasusau,
A llid a chynfigen ni ddilyn ei chamrau.
Doethineb a deall, er dyddiau 'i babandod,
A fu i'w haddurno, nes yw yn rhyfeddod.
Enwogion ryfeddant, pan glywont ei geiriau,
A chanfod bod plentyn yn meddu 'r fath ddoniau.
Gwir Aeres y goron, mewn mawredd urddasawl,
Ardderchog blanhigyn o'r gwreiddyn brenhinawl,
Hil Tudur[1] ddieilydd, anrhydedd y Brython,
Llewelyn[2] ac Arthur,[3] anfarwol enwogion.

yr harddaf o holl ferched ei hoes; ac yn ei hachos hi y digwyddodd rhyfel Caerdroia, yr hwn a barhaodd am ddeng mlynedd.

[1] Owen Tudur, o Benmynydd yn Môn.

[2] Llywelyn, tywysog olaf y Cymry, yr hwn a gwympodd yn Llanfair yn Muallt, trwy gael ei fradychu.

[3] Arthur, ydoedd un o frenhinoedd mwyaf enwog Brydain, ac adroddir llawer o bethau rhyfeddol am ei wroldeb digyffelyb, a'i ddewrder yn amddiffyn ei wlad.

Er huno 'i hanwyldad[1] yn mlodau ei ddyddiau
Yn llwch y ddaearen, a hirnos faith angau,
Er wylo o'r deyrnas uwch lludw 'i hanwylyd,
Pan syrthiodd fel deilen yn îrlâs i'r gweryd;
Yn awr ei anwyl-ferch yn gysur ddaeth i ni,
A Thad yr amddifaid yn nawdd a fu iddi;
Duw Ior a'i cysgododd fel tyner blanhigyn,
Rhag deifiawl gorwyntoedd, ystormydd a drycin.

Ei henw sy 'n anwyl, a'i mawrglod a glywir,
Ym mhob man lle teithiwn tros wyneb ein brodir.
Bugeiliaid[2] y bryniau, preswylwyr y llethri,
A eiliant ei molawd ym mysg y clogwyni.
Babanod, cyn dysgu d'weyd enwau eu tadau,
Goffant am Victoria, ar liniau eu mamau.
Mor hoff ydyw'r enw gan bawb trwy'r wladwriaeth,
Mor barchus ei seinir drwy 'r holl ymerodraeth,
Na 's gall neb rhïeni byth roi uwch proffes
O'u serch ac o'u cariad, at blentyn eu mynwes.

Er uched ei mawrglod mae yn ei ryglyddu,
Band cyfiawn yw moliant i'r neb sy 'n ei haeddu?
Mae calon deimladwy, a thuedd haelionus,
Yn llanw ei mynwes, a'i dwyfron dosturus.
Arglwyddi a gwerin ynt iddi 'n gyfeillion,
A'i hoffder sy 'n cyrhaedd at bawb dan y goron.

[1] Edward, Dug Caint, tad ein Brenhines bresennol, a fu farw yn y flwyddyn 1820, yn Sidmouth, Swydd Defon, o afiechyd yn yr ysgyfaint.

[2] Ymwelodd ein Brenhines, pan yn Dywysoges, gyd â'i mam, sef Duges Caint, ag amrywiol fanau yn Ngogledd Cymru yn y flwyddyn 1832, at yr hyn y cyfeirir yma.

Ysgolion[1] gefnoga i ddysgu 'r tylodion;
Ym mhob man lle teithiodd mwynhawyd ei
rhoddion.
A phob rhyw sefydliad i wneuthur daioni,
A'i cafodd hi 'n mlaenaf â'i llaw i'w gefnogi.
Deisyfiad y weddw, a gweddi 'r cardotyn,
A droant yn llwyddiant tragwyddol i'w dilyn;
Dymuniad pob calon lle clywyd am dani
Yw, "Bendith y nefoedd a fo i'w choroni."

Os gynt y caed gweled brenhinawl alluoedd,[2]
Yn galw eu deiliaid i goch faes rhyfeloedd;
Gan deithio 'r ardaloedd yn arswyd i'r cedyrn,
Wrth ddeffro 'r trigolion â rhuad yr udgyrn:—
Gan yru dynolion i'r bedd mewn cynddaredd,
A'u deiliaid yn filoedd mewn rhuddwaed i orwedd;
Nid felly canfyddir ein hanwyl Victoria,
Can's baner tangnefedd a chwyfia lle teithia.
Calonau a losgant gan wreichion o gariad
Lle bynag y delo, i dalu ymweliad.
Fel gwenau Aurora yn deffro 'r ddaearen,
Neu wyneb Apollo yn rhwygo y niwlen,
Pan fflamia ei gerbyd rhwng dorau 'r terfyn-gylch
Nes taenu llawenydd trwy 'r gwledydd o amgylch;

[1] Rhoddodd y Dywysoges ieuangc gyfraniadau haelionus tu ag at Ysgolion, ac amrywiol sefydliadau eraill, mewn gwahanol fanau, yn ystod ei hymweliad â'r Dywysogaeth.

[2] Cyfeirir yma at ddyfodiad Edward I. ac amrywiol frenhinoedd eraill Lloegr, i Gymru i'r diben o ddarostwng y trigolion, pan yn cynhyrfu 'r wlad yn erbyn y Llywodraeth, dan arweiniad rhai o'r penaethiaid Cymreig.

Fel hyn y mae gwenau brenhinol Victoria
Yn lloni 'r ardaloedd, pan drwyddynt y teithia.

Mewn parch a mawrhydi, i dir Gwalia y deuodd,
A bro ei hynafiaid arwraidd ymwelodd,
I wisgo yr awen â llawryf diedwi;
Hyfrydwch ein beirddion fydd coffa am dani.
Os gynt y bu Iorwerth, trwy frad a dichellion,
Yn taenu rhwyd angau ar ffordd awenyddion,
Mil henffych i'r diwrnod a wawriodd ar Wynedd,
I wisgo 'i mynyddoedd â gorchudd tangnefedd.
Os beirdd[1] yr hen oesoedd, yn nghastell Porth-
wygyr,[2]
Fu 'n gorwedd mewn rhuddwaed dan gyllyll y
milwyr;[3]
Dwr Menai wridgochwyd, a swn eu griddfanau
A siglodd y Wyddfa, pan syrthient yn angau!
Ond henffych i'r diwrnod y cafwyd Eisteddfod
Dan nawdd ein Victoria, lle gwnaed yr erchylldod.
Os gwelwyd eryrod, a chigfrain y creigiau,
Yn brysio yn gyflym i Fôn a'i gororau,
I'r lladdfa arswydus ar feibion yr awen,
Am iddynt gyffesu eu cred yn Ngheridwen,

[1] Yr oedd y Dywysoges a'i mam yn wyddfodol yn Eisteddfod y Beaumaris, yn y flwyddyn 1832, ac anrhegasant yr ymgeiswyr llwyddiannus yno gyd âg arian-dlysau, gan eu cyflwyno iddynt o'u dwylaw eu hunain.

[2] Beaumaris.

[3] Cyfeirir yma at gyflafan y beirdd yn Nghastell Beaumaris yn amser Edward I. ar yr hwn draddodiad y cyfansoddodd y bardd Seisonig Gray ei Awdl nodedig "*The Bard.*"

Mil henffych i'r diwrnod a wawriodd ar Gymru,
Caed nawdd ein Victoria i'r awen fu 'n trengu.

Ti *Clio*[1] anfarwol, a merch i *Mnemosyne*,
Dy gymmorth dod imi o'th nefawl orsafle;
I goffa 'r llawenydd a fu trwy 'n gororau,
Wrth wel'd ein T'wysoges yn rhodio 'n mynyddau.
Ein hoesawl gastellydd, a chreigydd ein goror,
A wisgwyd yn orwych mewn sidan a phorphor!
Ni bu y fath ddiwrnod er seiliad Eryri,—
Gan fanllef llawenydd y rhwygwyd y llethri.
Banerau a chwyfient o glogwyn i glogwyn,
A mawrdrwst gorfoledd orlanwai bob dyffryn.
Cyflegrau a ruent, nes siglodd y bryniau;
Y bythawl binaglau a grynent o'u seiliau!
"Ein hanwyl Victoria," a waeddai pob genau,
"Ein hanwyl Victoria," attebai y creigiau.
Allorau 'r Derwyddon[2] trwy Fôn a'i cyfarchai,
A'r wybr, hyd Gaergwydion, gan dân a wridgochai.
Yr hen a'r methedig, eu ffyn a anghofient,
I wel'd ein T'wysoges yn lluoedd y rhedent!
Hil Gomer mewn cariad gusanent ei llwybrau,
Cofleidient y glaswellt a fathrodd ei gwadnau.
Y plant gyda blodau addurnent bob prif-ffordd,
A melfed y bryniau oedd palmant ei gosgordd.

[1] Clio ydoedd y gyntaf o'r naw awen, y rhai oeddynt i gyd yn ferched i Jupiter a Mnemosyne. Ei phrif orchwyl ydoedd adrodd hanes digwyddiadau wedi myned heibio.

[2] Mae amryw o allorau yr hen Dderwyddon i'w canfod hyd heddyw yn ynys Môn.

Pob calon bryddhawyd y dydd ein gadawai,
Pob llygad mewn tristwch i Loegr a'i dilynai;
A Gwalia a wylodd ar ol ei Th'wysoges,
Fel mam pan y dygir ei phlentyn o'i mynwes.

Ond ha;—bydded i ni yn awr ymgysuro,
Er myned oddi wrthym ni ddarfu 'n hanghofio.
Er mawredd urddasawl y lle a'i hamgylcha,
Am lwydion fynyddau ein tir y myfyria.
Boed llwyddiant i'w hamcan i dd'od i Forganwg,
Er dyrchu 'r awenydd o'i beddrod i'r golwg.
Duw Ior, 'r hwn sy 'n llywio cynlluniau dynolion,
A'r hwn a reola y gwynt a'r awelon,
A baro i archiad y Brython eleni,
A'u taerion erfynion, gael etto 'u cyflawni;
A dyged Victoria i olwg bro 'i theidiau,[1]
Lle 'n llosgi am ei gweled mae myrdd o galonau;
Par'toi at ei derbyn, mae 'r wlad a'i thrigolion,
Pan ddel fe adseinia holl lethrau Plumlimon,[2]
A deffry 'r awenydd, bydd sain telynorion,
A banllef gorfoledd yn treiddiaw Caergwydion.
Hen gastell Caerdydd, am unwaith yn rhagor,
Gaiff wel'd llin ei frenhin, ond nid yn garcharor.
I dderbyn Victoria caiff agor ei ddorau,
Ond nid fel i Robert[3] yn rhwym mewn cadwynau.

[1] Yr oeddid yn disgwyl y buasai 'r Dywysoges Victoria yn bresennol yn Eisteddfod fawr Caerdydd, ar gyfer yr hon y cyfansoddwyd y Bryddest yma; ond yn hyn cafodd y gwyddfodolion eu siomi.

[2] Plumlimon sydd fynydd uchel yn Neheudir Cymru.

[3] Bu Robert Curtoise, Dug Normandy, yn garcharor yn

Digwmwl fo 'r diwrnod y del i'n harfolli,
Heb gynhwrf yn unman o'r mynydd i'r weilgi,
Ond clod ein T'wysoges, a llefau llawenydd
Yn adsain drwy 'r creigiau, nes dawnsia y coedydd.
Palmanter ei llwybrau â gorchudd sidanau,
A'i ffyrdd a harddwisger â dail ac â blodau;
A chasgled y beirddion holl gynnyrch Parnassus,
I ddod i addurno—" Prydferthwch ein hynys."
Yn awr pa mor uchel yw breintiau y Brython,
Cael nawdd ac anrhydedd gan Aerod y goron;
Ein brenhin tirionwych, a phawb o'i hiliogaeth,
Yn awr ymbleserant yn llwyddiant y dalaeth.
Ein hawddgar D'wysoges yn aml a'n cysura—
Oes euraidd tangnefedd yn awr a ddechreua.
Gorthrymder a ddarfu, anghydfod a beidiodd,
A rhyddid uwch gorwel y wlad a gyfododd;
Mae 'r cleddyf yn rhydu yn awr yn y ddaear,
Ac amser a ysodd yr arfau rhyfelgar.

Bendithion ein Perydd gorono Victoria,
A'r llaw anweledig a'i dygodd hyd yma
A fyddo 'n ei harwain holl ddyddiau ei bywyd,
A'i nef a ddechreuo cyn cyrhaedd bro 'r gwynfyd.
Os coron[1] ddihalog ein brenhin grasusawl,
A'i gyfiawn deyrnwialen, mewn amser dyfodawl,

Nghastell Caerdydd am chwech ar hugain o flynyddoedd. Yr oedd yn fab i William y cyntaf, a chafodd ei garcharu wrth orchymyn ei frawd, sef William yr ail.

[1] Mae hyn wedi digwydd yn awr er's amryw flynyddoedd, canys y Dywysoges Victoria a goronwyd yn Frenhines Brydain Fawr, Mehefin 28, 1838.

A fyddant yn dyfod i'w meddiant mewn mawredd,
Angylion y nefoedd a wyliont ei gorsedd.
Tawelwch a llwyddiant fo 'n toi 'r ymerodraeth,
A drych i'r ddaearen a fyddo 'i brenhiniaeth;
Ac enwog fo Brydain, ei chroes a'i tharanau,
A elont drwy 'r crwnfyd at bob cenhedlaethau.
Caethiwed angeuol a ddyger i'w ddiben,
A gormes a drengo o dan ei theyrnwialen.
Anghydfod a yrer mewn bythawl gadwynau,
I dir ei breswylfod, sef ardal y poenau.
A balchder a malais, pob trais a chynfigen,
A 'mlidio tangnefedd oddiar y ddaearen.
Digofaint a dial, yn awr a newyno,
Eu harfau a rydont, a'u tân a ddiffoddo.
Ac oesoedd ar oesoedd fo cyn delo angau
I gyrchu Victoria at ludw ei theidiau,
A'i phen fo ar fynwes ei gwlad pan yn trengu,
A'i deiliaid yn wylo mewn dagrau o'i deutu.

## LLINELLAU

A WNAED AR FARWOLAETH MRS. HANNAH WILLIAMS, GWRAIG Y PARCH. P. B. WILLIAMS, PERIGLOR LLANRUG A LLANBERIS.

O ! 'R newydd trist a'r brudd alarnad sy !
  Can's dygodd angau dyner fam ein bro,
Yr hon oedd ddoe yn llawen yn ei thŷ,
  Sydd heddyw yn gorphwys yn ei gwely gro.

Mor wag yw 'n hoes, mae fel yr awel wynt
  Yn myned heibio, yn ei chyflym daith,
Y dyn sydd heddyw 'n heinif ar ei hynt,
  Fydd cyn y foru yn nhragwyddoldeb maith!

Yn awr amheuaeth sydd yn llanw 'mron,
  Gan wneyd im' dybio'r gwir mal breuddwyd ffol;
Prin gallaf gredu ei myn'd o'r ddaear hon,
  Neu os yr aeth,—rwy 'n ammeu y daw yn ol.

Ond trist yw dweyd, nid felly ysywaeth fydd!
  Ni ddychwel neb os croesa 'r dyffryn du!
Os unwaith cyll ei olwg ar y dydd,
  Tragwyddol ddôr yn cau o'i ol y sy!

'Nawr felly gwelaf nad heb raid y mae
  Y drist alarnad glywir ym mhob man;
Mae achos ini blethu helyg gwae,
  Haelioni'r oes sydd heddyw 'n mhridd y llan.

Mam i'r amddifaid a'r tylawd a fu,
  Ei hunig bleser oedd gwneyd da i'r byd;
Pawb trwy y wlad a wyddent am ei thŷ,
  Fel porth i'r truan, lle caent letty clyd.

Ond Oh! yn awr i ben ei gyrfa daeth;
  E ddarfu ei hoes er mor ddefnyddiol fu;
Ond coffadwriaeth am yr hyn a wnaeth
  Ni lwyda 'r bedd, ni lygra angau du.

Mae dagrau 'r weddw heddyw 'n gwlychu ei bedd,
  Amddifaid wylant uwch ei hannedd brudd!
Y llwch a berchir, sydd yn cuddio 'i gwedd,
  O barch i'r hon yn gorphwys dano sydd!

"O! dyma'r fan!" medd pawb, "lle i huno rhoed
  Ein hunig gysur yn ei hannedd oer;
Angylion nef yn gylch i'w wylio boed,
  Ac arno 'n wastad gwened haul a lloer."

Os dagrau ynt yn arwydd colled fawr,
  Os trist wylofain ddengys drymder dwys;
Ni welwyd colled fwy nag sydd yn awr,
  Can's pawb a wyla o'i myned dan y gwys.

Mor drwm im' fyned tu a'r Hafod[1] yw,
  Ei wel'd yn wag o deulu 'r wyf yn awr;
Dim ond y fan lle gynt bu hon yn byw,
  A'i chadair wag a welaf ar y llawr.

Daw gwanwyn etto i adloni 'r byd,
  A'r haul a ddychwel o 'stafellau 'r de;
Yr wyn chwareuant ar y bryn yn nghyd,
  A'r blodau darddant o bob diffrwyth le.

Y wenol ddychwel ar ei blwyddawl daith,
  A'r adar byngciant yn y goedwig werdd;
Adfywia 'r byd, a natur ddeffry i'w gwaith,
  A'r gog a'r fronfraith ddont fel gynt a'u cerdd.

[1] Annedd y Parch. P. B. Williams, ym mhlwyf Llanrug, yr hwn sydd ei hunan wedi marw er's amryw flynyddoedd.

Ond os daw 'r haul yn nes, â'i wenau llon,
  Os mantell flodau ddaw i wisgo 'r ddol;
Holl droion byd ni chyffry 'r farwol fron,
  Ac nid oes dim all adfer Hannah 'n ol!

Fy mharchus Athraw,[1] Oh! mor boenus fu
  Y trwm ymweliad i'ch tynerus fron;
Wrth wel'd ysgubo eich anwyl briod gu
  I fôr marwolaeth, gan arswydus dòn.

Ond cysur mawr i ni a chwithau yw,
  Ei myned hwnt goruwch daearol boen;
Nid marw a wnaeth, yn awr mae 'n dechreu byw,
  Uwch poen a galar, yn Mharadwys Ion.

Mor hyfryd ydoedd diwedd gyrfa 'i hoes,
  Cael newid trallod am dawelwch ne';
Wrth ado 'r byd ca'dd daflu i lawr ei chroes,
  A chwmni 'r saint, a choron yn ei lle.

Pan oedd ar fin ymado hwnt o'r byd,
  Cyn iddi ehedeg i ororau 'r gwawl;
Meddyliwyf glywed nefawl leisiau 'n nghyd,
  Yn ei chroesawi gyda chathlau mawl;

[1] Yr oedd yr Awdwr y pryd hwn yn cael ei ddysgu gan y Parch. P. B. Williams, gyd â'r bwriad o fyned i'r Athrofa. Ystyrid Mr. Williams yn ysgolhaig rhagorol, a hynafiaethydd clodfawr. Yr oedd yn fab i'r Parch. Peter Williams, o Gaerfyrddin, Awdwr y Sylwadau poblogaidd ar y Bibl. Cyhoeddodd amryw lyfrau, ac ym mysg eraill, Cyfieithiad Cymreig o "Dragwyddol Orphwysfa 'r Saint," gan Baxter, "Hanes Ynys Fôn," yn Saesonaeg, a'r "*Tourist's Guide through the County of Carnarvon*," &c. &c.

Gan ddweyd—"Tyr'd yma ein hanwylaidd chwaer,
Dy le sy 'n barod gyda ni yn awr;
'R ym yn dy ddisgwyl ar y nefawl gaer,
Nag aros mwy ym mhlith gofidiau 'r llawr.

" Mae 'r wisg nefolaidd wedi ei pharottoi,
A'r delyn aur sy 'n barod i dy law;
O ! brysia chwaer, a moes dy law pan ddoi,
Ni a'th arweiniwn i'r orphwysfa draw."

Gadawai ni ar eu cyfarchiad hwy,
A'i haccen olaf oedd yn sibrwd cân;
Ein colled ni na ddychwel attom mwy,
A'i hennill hi oedd gado 'r byd yn lân.

## MYFYRDOD YR UNIG.

Mor ddedwydd yw 'r meudwy a dreulia ei einioes,
Ym mhell o drwst dynion heb ofid na gwyd;
Gan gaffael dedwyddwch yn ystod ei feroes,
Ac angau yn gyfaill i'w arwain o'r byd.

Ei ddiod o afon risialaidd y mynydd,
A'i fwth o waith natur yn ogof y graig;
Gwrth-ddrychau 'i fyfyrdod fydd gwaith ei Gre-
awdydd,
O sêr yr uchelder, hyd bellder yr aig.

Fel hyn mewn tawelwch o gyrhaedd gofidiau,
Yn ddieithr i'r ddaear, a chyfaill i Dduw,
Caiff haul digynfigen, a gwlaw o'r cymmylau,
A'i awyr ei hunan, i'w gynnal yn fyw.

Cael byw mewn tawelwch fel hyn yw 'm dymuniad,
O gyrhaedd holl wagedd a thrawsedd fy oes;
Ac heb gennyf bleser mewn unrhyw ddewisiad,
Ond ennill y goron 'nol gadael y groes.

Fel hyn pan ddirwyna fy oes i derfyniad,
Caf ddiangc yn ddirgel o'r ddaear mewn hedd;
Heb gyfaill i wylo o herwydd fy nhynged,
Na chofnod na charreg i ddangos fy medd.

## UDGORN DUW.

"OBLEGYD YR ARGLWYDD EI HUN A DDISGYN O'R NEF GYDA BLOEDD, A LLEF YR ARCHANGEL, AC AG UDGORN DUW." 1 *Thes.* 4. 16.

BLOEDD yr Archangel, a llef udgorn rhyfeddol,
Duw IOR a anfonir o'r wybren uwch ben;
I gasglu at eu gilydd bawb o'r hil ddynol,
A'i lais a gyrhaedda drwy ddaear a nen.

Nefolaidd saerniaeth yw 'r udgorn galluawg,
Hyd yma ni chlywodd hil Adda mo 'i sain;
Ei daran a sigla y gronglwyd serenawg,
Y bryniau a grynant, a hollta y main!

Mae 'r gennad yn barod yn disgwyl er 's oesau
   I gludo gorchymyn olaf ein Duw;
Pan ddisgyn gan godi ei law i'r cymmylau,
   A thwng na bydd amser i feirwon na byw.

O'i ol yr Archangel a ddaw trwy 'r wybrenau,
   A mellt i'w amgylchu yn gymmysg â tharth,
A'r udgorn a floeddia uwchlaw y cymmylau,
   A'i lef fydd yn treiddio i eithaf pob parth.

Ei alwad, yr ëang fydysawd a sigla,
   A'i ruad dychrynllyd a rwyga y nen;
Colofnau 'r gre'digaeth hyd annwn a sigla,
   A rhwymau 'r ffurfafen ddattodant uwch ben.

Y bryniau ymdreiglant oddiar eu sylfeini,
   A'r sêr a'r planedau ymwibiant drwy 'r wybr!
Bydd natur yn trengu a'r ddaear yn hollti,
   A'r bydoedd yn neidio heb reol o'u wybr;

Ac uffern a gryna, a'i llywydd mewn dychryn,
   A syrth i'r eigionau o'i orsedd i lawr;
Rhyw gynnwrf a dreiddia 'r gre'digaeth bob
      mymryn,
   A'r byw ânt yn feirwon pan glywont y gawr!

Ceir gweled y Barnwr mewn urddas yn dyfod
   Mewn cerbyd o engyl trwy ddorau y nef,
A phob peth yn crynu o'i flaen mewn dychryndod,
   A'r udgorn mawr eilwaith a ddyry ei lef!

Ei lais fydd i'w glywed fel myrdd o daranau,
  A'i ruad arswydus yn cyrhaedd pob lle;
Yr huan yn wreichion drwy 'r laswyr a syrthia,
  A'r sêr a dywyllant yn uchder y ne'.

O! olwg aruthrawl, y meirwon yn codi,
  Yn dyrfa aneirif o gelloedd y llawr;
A'r miloedd balmantent waelodion y weilgi,
  O'r llaid ac o'r tywod a frysiant i'r wawr!

Y ddaear ehang-faith â 'n fyw ym mhob cyrion,
  Pob glyn a phob dyffryn a esgor ar ddyn;
Fel mam ni rydd loches yn hwy idd ei meibion,
  Rhaid iddynt yr awrhon droi allan bob un.

Ail heidiawg locustiaid yn gadael crasdiroedd
  Tywodlyd Arabia, neu Barbari draw,
Yn dduon gymmylau, nes cuddiaw y nefoedd,
  A duo 'r wybrennau, fel tymmestl o wlaw;

Neud felly y meirwon, pan glywont y ddolef,
  Adawant y ddaear gan frysiaw yn nghyd,
Yn filoedd aneirif at orsedd uchelnef,
  Yr hon a gynnelir uwch canol y byd.

Y llwch gwasgaredig dry 'n gorph ar yr alwad,
  Er uno â'r ddaear dros oesoedd dirif;
A'r môr a ŷr allan o'i fynwes heb oediad,
  Y myrdd aeth yn ymborth i bysgod ei lif.

Pryd hyn y cyd-gesglir aelodau chwaledig,
  Er cael eu gwahanu hyd eithaf y byd;
Y pen ga 'dd ei gludo i'r gogledd bellenig,
  A'r corph wrth dir Affrig a unir yn nghyd.

Yr esgyrn fu 'n lludw o flaen y corwyntoedd,
  A'r llwch a gyfodwyd o byllau y llawr
I'w wneyd yn briddfeini, i furiau dinasoedd,
  A droant yn ddynion bob mymryn yn awr.

Y coedydd fu 'n plygu o flaen y corwyntoedd,
  A'r llestri fu 'n nofio dros wyneb y dòn;
A droant yn lludw a llwch i genhedloedd,—
  Yn gystal a'r blodau a frithant y fron!

Arswydus olygfa a geir ar y ddaear,
  Pan glywir bloeddiadau mawr udgorn yr Ior;
A dynion gyfodant o bob man ar wasgar,
  Gan amled a'r tywod ar finion y môr.

Bydd syndod a dychryn eu canfod yn dyfod
  Trwy lèni godidog y neuadd dêg wawr,
A'r palas a godwyd lle gynt y bu beddrod,
  Plant dynion dd 'ont allan yn lluoedd o'i lawr.

Newidiad tragwyddawl yn ngwaith y Jehofah,
  Ar ganiad yr udgorn yn wir gymmer le;
Y ferth gre'digaeth yn chwilfriw a syrthia,
  A phob peth a dderfydd ond uffern a ne'.

Daw amser i'w derfyn, ac angau a rwymir
 Mewn carchar tragwyddol â chadwyn o ddur,
A Satan a'i weision i annwn a deflir,
 Pryd hwnnw dechreua eu dyddiau o gur.

Dolefau yr udgorn a gasgl holl ddynolryw,
 A'r ddaear adewir yn barod i dân;
Yr haid a eheda i fywyd neu ddistryw,
 A'r cwch heb breswylydd adewir yn lân.

Duw IOR o'r uchel-nef a eilw 'i angylion,
 I dywallt afonydd o dân ar y byd;
A mellt yr uchelder ollyngir yn rhyddion,
 A'r faith greadigaeth â'n wenfflam i gyd.

## AMSER.

MAE gwŷr dysgedig yn ddiball
 Yn medru deall llawer;
Ond nid oes neb o'r rhai 'n i gyd
 All wybod hyd ei Amser.

Yr haul yn d 'od o'r dwyrain sydd
 A rhedeg bydd ar fyrder;
Gan droi o gylch y ddaear faith,
 Ac ymaith yr â Amser.

Os buan rhedfa llong ar hynt,
 I'w helynt uwch y dyfnder,
Wrth gael ei gyru gan y gwynt,
 Neud cynt yw rhedfa Amser.

Os cyflym try 'r planedau sydd
  Ym mröydd maith uchelder;
Ni roddant ini olwg glir
  O redfa gywir Amser.

Fel derfydd cwmmwl o flaen gwynt,
  Wrth deithio i'w hynt yn dyner;
Neu fel diflana 'r niwl ar fryn,
  Fel hyn y derfydd Amser.

Bu llawer tô o Adda ein tad,
  Yn byw yn ngwlad gorthrymder;
Ond dygwyd hwy gan angau i gyd
  A darfu hyd eu Hamser.

A gwŷr fn 'n ddychryn, yn ddïau,
  I genedlaethau lawer,
A welsant ben i'w rhwysg mewn bedd,
  A dyrnfedd fêr eu Hamser.

A chofied pawb sy 'n awr yn ffol
  Yn byw mewn marwol bleser,
Y gwelant ben i'r pethau hyn
  A therfyn chwai i'w Hamser.

Rhifedi mawr fel hwythau fu
  Yn glynu wrth fyd a'i fwynder;
Ond dygwyd hwy i'w diwedd caeth,
  A darfod wnaeth eu Hamser.

Ystyried byddom bawb heb goll,
A hynny oll ar fyrder;
Mai 'n diwedd sydd yn agoshau
A therfyn brau ein Hamser.

Ymrown i fyw mewn sanctaidd ddawn
A cheisiwn lawn drugaredd,
Gan Dduw o'i ras, tra îs y rhod,
Cyn terfyn dd 'od i'n Hamser.

Mae tragwyddoldeb maith wrth law
Yr hwn rydd fraw i lawer,
Ac angel ddaw o'r nef heb ludd
A thwng na fydd dim Amse r.

## LLINELLAU

A WNAED AR DDYFODIAD DUGES CAINT, A'R DYWYSOGES VICTORIA, I FON YN Y FLWYDDYN 1832.

LLAWENYDD dreiddia trwy ororau 'n gwlad,
Ac ynys Fôn a gaiff 'chwanegu ei chlod;
Am ddyfod iddi ein hil brenhinol llâd,
Trwy rwysg ac urddas, mewn goruchel nôd.

Rhyw ddirgel serch, fel gwreichion lysg yn awr,
Ym mronau 'r Brython yn enynawl dân,
Gorfoledd draiddl hyd derfyn pell y wawr,
Ac Awen Cymru seinia 'i melus gân.

Os gwelwyd Môn yn wylo dan iau bres,[1]
A'i meibion gynt yn griddfan dan oer gur;
Ei deri 'n llosgi gan angerddawl wres,
Ac eryr Rhufain yn 'sglyfaethu ei gwyr:

Ei meib yn gorwedd ar y gwaedlyd faes,
A llên Dderwyddon rhwng y fflamau 'n gwau;
Ei merched teg, a'u gwallt modrwyawg llaes,
Yn gorfod gadael eu hanwylaidd bau;

Piccellau 'n suo yn yr awel lem,
A'r cleddyf dur yn brysur yn ei waith;
Y môr o gylch, a'i dònau 'n goch eu trem,
A llawer gwron roed mewn daear laith.

[1] Yr Awdwr a gyfeiria yma at oresgyniad ynys Fôn gan y Rhufeiniaid, o dan Suetonius Paulinus. Glaniasant, meddir, mewn lle ar fin culfor Menai a elwir Porthamel. Y gwyr traed a groesasant yr afon Menai mewn badau; a'r gwyr meirch, rhai trwy nofio drosodd, a'r lleill trwy ei rhydio, yr hyn sydd yn peri i ni feddwl ei bod yn llawer baesach y pryd hwnnw nag ydyw yn awr. Ar y lan, yn barod i'w derbyn, yr oedd lluoedd o wyr arfog, medd Tacitus, yr hanesydd Rhufeinig, a merched yn gymmysg â hwynt, yn rhedeg mewn gwylltineb o amgylch, a'u gwallt yn chwareu yn y gwynt. Y Derwyddon a'u hamgylchent, gan godi eu dwylaw tu a'r nef, a chyhoeddi melldithion arswydus yn erbyn y gelynion. Dychrynwyd y gelynion ar y cyntaf gan y fath olygfa ddieithr, ond o'r diwedd dechreuasant fyned ym mlaen gan daro y brodorion â lladdfa fawr, a'u llosgi yn eu tânau eu hunain. Ar ol i'r frwydr derfynu, gosodasant wyr arfog yn y trefydd, a thorasant i lawr y llwyni derw, lle yr arferai y Derwyddon fyned drwy eu defodau crefyddol.

Yn awr daeth hedd, mae achos llawenhau,
  Banerau chwyfiant draw ar lethr y bryn;
Nid arwyr sydd â'u llygaid mellt yn gwau,
  Na swn eu harfau 'n adsain yn y glyn.

Nid gelyn yn ei lid yn awr a ddaw,
  I wneyd i'r ynys grynu o ben i ben;
Nid trwst rhyfeloedd sydd yn peri braw,
  Gan dôi â nos ddisgleirdeb haul y nen.

Ond deffro mae y wlad mewn elwch mawr,
  Wrth wel'd Victoria 'n dyfod yma i'n tir;
A phalmwydd hedd, a llawryf teg eu gwawr,
  Yn ei haddurno, gyd â'u gwyrddail îr.

A Duges Caint gaiff glod, tra haul a sêr,
  Ym mysg ein cenedl yn dragywydd mwy;
Eu clod a seinir gyd â'r delyn bêr,
  A gwaith yr awen fydd moliannu 'r ddwy.

Bro Tudur, a'u hen dadau enwog gynt,
  Deithiasant, a'u haelioni deimlodd hon;
Eu mawl a gludir gan yr awel wynt,
  A'u cyfarch gant yn aml o lethrau 'r fron.

Cromlechau Môn, a'i hen allorau main,
  Ei hoesawl gestyll, gyd â'u muriau serth,
Sydd yn eu cyfarch gyd âg uchel sain,
  A'r deri siglant yn y goedwig ferth.

Eryri fawr, a'i duon greigiau draw,
   Pinaglau natur yn trywanu 'r nen,
Ynt yn amlygu eu mawredd ar bob llaw,
   O barch i'r rhai'n, heb gwmwl ar eu pen.

Bendithion Ior ddylifont byth i'w rhan,
   Ac aml y delont yma i'n hoffus dud;
A'r parch deilyngant gaffont ym mhob man,
   Tra haul yn gwenu ar drigolion byd.

## LLINELLAU

A ANFONWYD AT Y PARCH. JAMES WILLIAMS, B. D. PERIGLOR LLANFAIRYNGHORNWY, MON, PAN OEDD WEDI BOD YN GLAF.

Barchedig fugail gwiwlwys,
   I deulu ac Eglwys Duw,
Llawenydd i mi beunydd
   Eich bod ar dir y byw;
'Nol goddef cystudd chwerw,
   A garw boenus gur,
Ior i chwi roes adferiad,
   Trwy rad ei gariad pur.

Yr Arglwydd mewn modd dibrin
   Rydd flin drallodus oes,
Yn fynych i'r duwiolaf,
   A chwerwaf lymaf loes;

Ceryddu â gwialen cariad
   Fel anwyl Dad wna Duw,
Gan dreio 'i ffyddlon weision
   A loesion o bob rhyw.

Fel gwyrddail yn y goedwig
   Yw 'n darfodedig oes,
Rhai gurir gan dymmestloedd
   Ac anadl gyrwynt croes;
A Hydref du ddaw 'n fuan
   I wywo 'u gwiwlan wawr,
Ei awel lem a'u crina,
   A'u lluchia oll i'r llawr.

Fel hyn mae ystod einioes
   Drwy 'n beroes yn y byd,
Aml gystudd lwyda 'r gruddiau,
   A chwymp rhosynau 'r gwrid;
A Hydref duoer angau
   Ddaw 'n mlaen mewn diwyg brudd,
A nos ei ddu gymmylau
   Dywylla olau 'n dydd!

Ond er ing olaf angau
   A loesau o bob rhyw,
Diogel fydd y Cristion
   Dan dirion aden Duw;
Pan ddettyd rhwymau anian,
   A'r ddaear eirian wedd
Yn syrthio i eigion distryw,
   Bydd ef yn fyw, mewn hedd.

# BYR OLWG

## O HELYNTION CENEDL Y CYMRY YN YR AMSEROEDD GYNT.

GALAR a thristwch fu 'n tôi ein hardaloedd
  Oes ar ol oes, ac alaethus fu 'r cri;
Dylif o ddagrau aeth dros ein dyffrynoedd,—
  Am lawer cenhedlaeth bu gofid i ni.
Ond enwog wroniaid a gafwyd yn ddiau,
Yn gymmorth i'n cenedl drwy dreigliad maith oesau,
A'u henwau a gofir ar hyd ein gororau,
  Tra rhuo 'r afonydd, tra ewyn ar li.

Gwyr enwog goronodd lawer cenedlaeth
  O amser i amser, drwy 'r oesoedd a fu;
Gwlad Misraim[1] ac Assur[2] fu 'n coledd dysgeidiaeth,
  Gan fagu enwogion a doethion yn llu:

[1] Gwlad Misraim, sef yr Aipht; yr hon a elwir felly oddi wrth Missraim mab Ham, yr hwn a ddechreuodd y frenhiniaeth enwog yma 2188 o flynyddoedd cyn cred. Y wlad hon ydoedd mam dysgeidiaeth a chelfyddydau yn yr oesoedd boreuol.

[2] Gwlad Assur, neu ymerodraeth Assyria, a gyfrifir y deyrnas hynaf yn y byd, ac a sylfaenwyd, yn ol barn rhai o'r dysgedigion enwoccaf, gan Ashur mab Sem, ac nid gan Ninus, fel y dywed eraill. Bu y wlad hon yn enwog am oesoedd, canys yma yr oedd Ninifeh, a Babilon, a llawer o ddinasoedd nodedig eraill.

Rhufeiniaid a Groegiaid 'nol hyn wnaent gofleidio.
Gwybodaeth, gan ymlid y niwl fu 'n eu cuddio,
A'u tir ddaeth yn enwog, a'r byd wnaent oleuo,
  A haulwen dysgeidiaeth belydrai bob tu.

Ac wedi dod Eidal yn Eden Ewropa,
  A'i henwog ddysgawdwyr yn addurn eu hoes;
Gwybodaeth ddaeth drosodd yma i dir Gwalia,
  A dunos coel-grefydd yn wawr-ddydd a droes;
O fesur ychydig daeth yn fwy golau,
A'r haul a belydrodd ym mysg ein mynyddau,
Ymlidiwyd tywyllwch y nos, a'r cymmylau
  Wasgarwyd yn ebrwydd, a'r niwlen a ffoes.

Ond oesau bu 'n gwlad yn sathr i elynion,
  Ar faesydd y gwaed rhwng tân bu ein gwyr;
Ac ieuau o bres a roed gan elynion
  I'n dal ni mewn gormes, ac aerwy o ddur;
Y llyfrau a gasglodd ein doethion olrheinwyr,
Llafur ein beirddion a gwaith ein dysgawdwyr,
A Thrioedd a Brudiau a gasglodd haneswyr,
  A losgodd gorthrymwyr yn lludw mewn cur.

Fel hyn yr aeth blwyddau ar flwyddau i ddiflant,
  A'n cenedl yn griddfan dan warog o blwm;
Gan leisiau wylofus y bryniau adseiniant,
  A galar gyrhaeddodd bob cilfach a chwm;
Yr haulwen fu 'n ddisglaer 'nawr wedi machludo,
A blodau yr oesoedd i gyd wedi cwympo,
A'r rhai oedd yn aros a welid mewn cyffro,
  A'u gwedd yn alarus a'u meddwl yn drwm.

Distryw a rhyfel a brysur ymdeithiai,
A nos anwybodaeth orchuddiai y fro,
Ar ein hardaloedd tywyllwch orphwysai,
Ymlidiai cymmylau yn dô ar ol tô!
Gwaed ar y deg lâs-ddol a redai 'n afonydd,
A chyrph y marwolion a hulient y maesydd,
A threfydd godidog, palasau, eglwysydd,
A drowyd yn lludw dro ar ol tro!

Ond yma ar ol hynny y nwyfre a wenai,
Gwedi yr ystormydd trallodus a fu;
Ac ambell i seren wan a lewyrchai,
A gwenau y wawr-ddydd ganfyddid bob tu:
Y cledd a ddychwelwyd i'w wain mewn tawelwch,
Rhyfelwyr orphwysent mewn hedd a llonyddwch,
E giliodd bygythion rhyfeloedd, a thristwch,
Distawodd yr udgyrn,—gwasgarodd y llu.

## YSTYRIAETH DDIFRIFOL.

Mae dyddiau 'm hoes yn brysio i ben,
A nos ddu angau 'n nesu sydd;
Fy oriau yma îs y nen,
Ant heibio 'n chwai o ddydd i ddydd.

Ond ni ddymunwn, yn y byd,
Gael bod yn hwy na hyd ym hoes;
A phar im' weithio, Ior, o hyd,
Gan ddwyn y cledd a chludo 'r groes.

A dysgu 'r ffordd i wynfyd nef,
  A fyddo 'm gorchwyl pena 'n awr;
Gan deimlo gras, fel cadwyn gref,
  Yn f'uno â'r Gwaredwr mawr.

A chalon bur, a dwylaw glân,
  Dymunwn Arglwydd ufuddhau;
Iawn dreulio 'm horiau heb wahan,
  A byw i farw, dan dy iau.

Os truan wyf, a thlawd, fy Nuw,
  Fy enaid nid anghofi di;
Mewn hyfryd wlad cyn hir caf fyw,
  Ym mhresennoldeb gwiw fy Rhi.

Pan deithiwyf trwy y dyffryn du,
  Caf oleu gan y golofn dân;
A llais Cerubiaid oddi fry,
  A'm dysg i uno gyd â'u cân.

## BUDDUG.

(EFELYCHIAD O WAITH COWPER.)

PAN ydoedd brenhines ryfelgar y Brython,
  Yn gwaedu dan wiail Rhufeinwyr mewn brad;
Ac y ceisiai 'n ei haflwydd, â ffrom-ddig olygon,
  Gynghorwr dewisol 'mysg duwiau ei gwlad;

Yn llawn o ddoethineb, dan gysgod y dderwen,
Canfyddai 'r Arch-dderwydd a'i laes-wallt yn wyn;
A'i eiriau fel ufel, a'i lygaid fel mellten,
Gan ddigter a gofid, llefarai fel hyn:—

" D'wysoges!—os ydyw ein llygaid gan ddagrau
Yn llanw, wrth wel'd dy orthrymder a'th gam;
Yr achos yw, cofia, bod llid gyd â'i rwymau,
Yn attal ein tafod, sy 'n barod yn fflam.

" Ond Rhufain ddinystrir—y gair ysgrifenwch
Yn y gwaed a dywalltodd, a'i dial a ddaw;
Ei dinystr a'i dalia—er maint yw ei harddwch,
A gwarth ac anobaith a'i töa rhagllaw.

" Rhufain, a'i hëang lywodraeth orenwog,
Sy 'n awr yn mathru teyrnasoedd a syrth;
Ei balchder yn fuan gusana y tywod,
A'r gelyn sy 'n barod yn ymyl ei phyrth.

" Rhufeiniaid eraill i fynu a gyfodant,
Heb enw milwraidd nag awydd am nod;
Ac nid trwy rym arfau yr orchest a geisiant,
Ond heddwch balmanta eu llwybrau at glod.

" Yna 'r hiliogaeth orenwog ddaw allan,
O'r dyrys goedwigoedd sydd yn ein tir,
Gan ledu eu hesgyll a chludo y daran,
Byd meithach na Cæsar reolant cyn hir.

"A gwledydd y rhai nad yw e 'n eu hadnabod,
A 'mgrymant ger bron dy feibion cyn hir,
Lle etto na 'hedodd ei feilchion eryrod,
Hyd derfyn pellenig yr wybren a'r tir."

Y cyfryw oedd geiriau ac iaith prophwydoliaeth
Y bardd, dan ddylanwad yspryd y nef;
Pan gyd â'i ber delyn a'i offer cerddoriaeth,
Yr unai 'i accenion yn uchel ei lef.

A hithau yn llawn o falchder brenhinol,
A'u teimlai yn llosgi fel tân dan ei bron;
Rhuthrai i'r ymgyrch, ymladdai yn wrol,
Ac angau gofleidiai, heb ddychryn, yn llon.

"Chwi dreiswyr gorthrymus," oedd ei lleferydd,
"Cywilydd a dinystr sy 'n dyfod i'ch rhan;
Eich mawredd a'ch enw a wisgant waradwydd,
Ond enwog frenhiniaeth gawn ni ar bob man."

## CWYNION Y GYMRAEG,

AR OL EI GWIWGOF NODDWR, OWEN JONES,[1] YSW. NEU *OWAIN MYFYR*, GYNT O LANFIHANGEL GLYN MYFYR, AC AR OL HYNNY O LUNDAIN. BU FARW YN LLUNDAIN, HYDREF 26AIN, 1814, YN 73 OED.

O! 'R newydd trist sy 'n hollti 'mron,
Fy nghalon a lesmeiria;
Ond pwy, yn fy wylofus gri,
A mi a gydymdeimla!

[1] Yr oedd Mr. Jones yn wr bonheddig hynod o wladgarol,

Mi gollais fy anwylaf fab,
  Un arab trwy ei einioes;
O! fy Myfyr, hoff a chu,
  Mor fuan darfu 'th feroes.

Os cefais ddoethion wyr o'm hil,
  Er 's pedair mil o flwyddau;
Ac arwyr dewrion imi 'n blaid
  Wrth angenrhaid, trwy 'r oesau;

Os rhai, fel Alexander fawr,
  Fu 'n meddu ar ddirfawr allu,
Gan ddwyn gelynion dan eu traed
  Ar faes y gwaed, a'u baeddu,

Ac eraill feirdd, a gwyr o ddysg
  A fu yn mysg fy meibion;
Haneswyr, brudwyr, uchel fri,
  A fu i mi, a doethion;

Ond fel meithrinydd mawr i mi
  Tydi ragoraist arnynt,
A'th enw bery, oesau byd,
  Yn flaena i gyd o honynt.

a chyhoeddodd amryw o lyfrau gwerthfawr ar ei draul ei hun, ac yn mysg eraill yr "*Archaiology of Wales*," yr hwn sydd yn cynnwys hynafiaethau gwerthfawr, megis y gwahanol Groniclau, Trioedd, Brutiau, gwaith y Cynfeirdd a'r Gogynfeirdd, &c.

Blynyddoedd o derfysgoedd maith
Ddug ymaith fy nghoronau,
A fy meibion, uchel ddysg,
I huno i fysg eu tadau.

Taliesin,[1] a'i wawdiadau per,
Cynddelw, a sêr y boreu;
A'm plentyn hoffus, Llywarch Hen,[2]
Fu 'n pyncio eu trylen odlau!

Aneurin,[3] a'i Ododin gwych,
A Myrddin, drych y mawrddysg;
A Gwyddno hen, ni 'leuant mwy
Eu heddyl, trwy eu haddysg.

Mab Arthur,[4] fy hanesydd mawr,
A aeth i'r llawr i huno;
A'm holl enwogion, ynt mewn hedd,
Yn nyfnder bedd, heb gyffro.

[1] Bardd enwog, yr hwn a flodeuodd o gylch y flwyddyn 530. Gelwid ef yn ben beirdd o herwydd ei enwogrwydd, a'i fod yn rhagori cymmaint ar eraill.

[2] Bardd enwog arall, o gylch yr un amser a Thaliesyn, ac heblaw hynny yr oedd yn rhyfelwr dewr, ac yn dywysog ar ran o'r wlad.

[3] Awdwr enwog y Gododin, ac amryw ganiadau eraill. Enwogodd ei hunan ym mrwydr nodedig Cattraeth; a bu farw yn y flwyddyn 570.

[4] Gruffudd ab Arthur, hanesydd o enwogrwydd a gwybodaeth.

A minnau yrwyd ar eu hol,
   Gan law gelynol luoedd,
I angof braidd, yn drist fy ngwedd,
   I orwedd am faith oesoedd.

Fy ngwisgoedd heirdd yn ddarnau gant
   Oll wnaethant, a drylliedig;
A'm taflu ges yn wael fy rhan,
   Ar geulan angof unig.

Ac yno 'n dlawd, ar fin fy medd,
   Yn wael fy ngwedd yr oeddwn;
A'm plant a'm mathrent dan eu traed
   Tra yn fy ngwaed gorweddwn.

Ni chawn dosturi mewn un fron
   Na chalon i ofidio,
Wrth fy ngwel'd dan wlaw a gwynt,
   Ond pawb i'w hynt aent heibio!

Ond, Myfyr, trwy dy 'mgeledd di
   I'm mawrfri daethum eilchwyl,
A'm dwyn i'm hanrhydeddus wedd
   O'th gryd i'th fedd fu'th orchwyl.

Ti chwelaist ymaith dyrau llwch,
   Rhai 'n drwch o'm cylch roes amser;
A'i ddylif gwyllt 'r hwn gludodd laid,
   Yn ddibaid ar fy nghyfer.

Fy ngosod wnaethost ar fy nhraed,
  O laid a gwaed rhyfeloedd;
A'm gwisgoedd drwsiaist, mewn modd gwych,
  Nes oeddwn ddrych teyrnasoedd.

A thrwy dy 'mgeledd hyd dy oes,
  Anghofiais groes a chystudd;
A'm tegwch ddaeth yn ol, a'm nerth
  Yn brydferth yn fy nawn-ddydd.

Ond ni cha' 'n awr ond coffa 'th waith,
  Aeth heibio 'th daith ddaearawl;
A choffa wnaf rinweddau 'th oes,
  Mewn einioes alarnadawl.

A chofiaf awr dy ddylaith mwy,
  A'r gofwy trist i'n goror,
Hyd nes attalier ffyrdd y don,
  A daear gron yn agor.

O! dewch fy awenyddol blant,
  Trwy fryn a nant mewn cyffro;
Tarewch lorf-dannau 'r delyn fwyn,
  A gwnewch alar-gwyn iddo.

Cof am dy rinweddau fydd,
  Fel golau 'r dydd trwy 'r oesau;
Ni lygra 'r llwch dy enw per
  Nag amser, chwai ei droellau.

Y goron gefaist fydd mewn bri,
  Tra fi a Chymru i'n cofio;
A'i blodau 'n beraroglaidd fydd
  Tra Haul y dydd yn llwybro.

Wrth gofio 'th farw, bydd i mi
  Ddwfn gyni ar y ddaear;
Ac ar dy ol, nes llethu 'mron,
  Yn dòn 'nol tòn daw galar.

Gobeithio 'th fod mewn uchel fri,
  Yn nghwmni pur angylion;
Wedi cefnu ar bob cur,
  Yn canu pur accenion.

Gadewaist drwst a helbul byd,
  A thristyd plant y ddaear;
Ac aethost adre i gwmni 'r Oen
  Uwch gweli, poen a galar.

## EMYN

AR YR ACHLYSUR O OSOD CARREG SYLFAEN EGLWYS NEWYDD GERLLAW PONT FADOG, YM MHLWYF LLANGOLLEN.

Ein gorchwyl yma 'r awron yw
Sylfaenu teml i'r uchel Dduw,
  A thŷ preswylfod Brenhin nef;
A gwlith ei fendith ddelo i lawr
I'r fan, a'i bresennoldeb mawr,
  Nes llanw 'r lle â'i fawredd Ef.

Cyhoedder cennadwri hedd,
A phrofed pawb o'r nefawl wledd,
Tu fewn i'r gyssegredig fan;
Fel dyffryn Achor boed y lle,
Yn ddrws i gyraedd gwynfyd ne,
Trwy roddi gobaith yn y gwan.

Pregether yma Grist a'i groes,
Ei olaf ing, a'i farwol loes;
A chariad Duw at euog fyd:
A theimler grym Efengyl gras,
Yn newid cyflwr adyn câs,
Nes lloni ei fron, a llanw ei fryd.

Ail i'r Shechinah Ddwyfol gynt,
A'r Yspryd Glân, fel nerthol wynt,
Neu 'r cwmwl dôai babell Duw;
Fel hyn boed Ior yn llanw 'r fan,
I wrando ar gwyn a gweddi 'r gwan,
Gan ddwyn y marw 'n ol yn fyw.

A'i mynwent yn orphwysfa fydd,
Ar ol ei daith dan wres y dydd,
I lawer llesg bererin gwan;
A gweision Duw 'nol gado 'r groes,
Gant yma huno ar ddiwedd oes,
Nes delo dydd i'w cyrchu i'r làn.

# ENGLYNION

## AR BONT MENAI, TESTUN EISTEDDFOD BEAUMARIS, 1832.

ADEILWYD goruwch y dylif—grogbont,
Ar greig-bau y dyfr-llif;
Uwch Menai, lle llwybrai llif
Ewynllyd, y môr genllif.

Cadwyn wrth gadwyn gydiwyd;—mewn creigiau,
Main crog eu sicrhawyd;
Dros ferw-ddwfr y llif-ddwfr llwyd,
Cadarn dêg brif-ffordd, codwyd.

Uchelion dirion dyrau,—a hoff-dêg,
Fel Aiphtaidd binaglau;
A'u seilfan tan y tònau
Cynddeiriawg, mewn berwawg bau.

Rhoed tidau, barau a byllt,—ar wagle,
Uwch peryglon gorwyllt,
Cawn deithio, ar gyffro gwyllt,
A chroesi 'r môr echryswyllt.

O dani hwylia dynion—eu llongau,
Yn llengoedd dros eigion;
Ac arni, uwch dyfrlli 'r dòn,
E luniwyd ffyrdd olwynion.

Asiodd y rhwygiad oesawl—wnaeth anian,
  A thònau 'r llif nerthawl;
 Rhyw eres lwybr awyrawl
 Yw, rhwng môr a goror gwawl.

## ENGLYNION

A WNAED AR AGORIAD EISTEDDFOD LLANERCHYMEDD,
YN MON, 1835.

HENFFYCH Môn! dirion, wlad orwych,—ethawl,
  A'i doethion hynodwych;
 Rhai godidog enwog ych,
 Odiaeth,—haelionus ydych.

Noddi yr awenyddion,—a dala
  Ein dilyth arferion,
 Yw pleser mwynber gwyr Môn,
 A'i thrwyadl ddoeth athrawon.

Llwyddiant, a ffyniant hoff union,—a ddelo
  I ddal eich amcanion;
 Tra heli ym mysg meini Môn,
 Cariad a fyddo eich coron.

Dewis gadair dysgeidiaeth—yw 'r Ynys,
  Er haniad Derwyddiaeth;
 O hon gynt, meddynt, er maeth,
 Y byd a ga'i wybodaeth.

Er taranau, er trinoedd,—a gerwin
Ddig orwyllt ryfeloedd,
Para o hyd i gyd wna 'n goedd
Yn addurn, drwy 'r blynyddoedd.

Y Rhufeiniaid a gaid gynt—yn moriaw,
Drwy 'r murmurawg gerhynt;
Troi 'r Ynys, mewn echrys hynt,
Yn ulw oll a wnelynt.

Tanient a llosgent y llawr,—â lludw
Dilladwyd pob gorawr;
Newidiodd a gwelwodd gwawr
Y der Ynys, dirion-wawr.

Afonydd gwaed fu yna—yn rhedeg
Ar hyd y lâs borfa;
Gan farwawl a blinawl bla
Rhyw filoedd, yn rhyfela.

Ond heddyw onid diddan—ein gorchwyl,
Ni gyrchwn i'r unman;
I eiliaw, cyweiriaw cân,
I Luniwr rheol anian.

E giliodd oesau galar—a therfysg,
A thyrfa ryfelgar;
Heddwch, gwelwch, a gâr,
Yn ddiau, dôi y ddaear.

### I'R LLYWYDD.

I Lloyd, Llwydiarth, trwy 'n parthau—yn unawl,
Ennyned pob doniau;
Pob dyffryn, a glyn, yn glau
A neidiont mewn caniadau.

Tra nofio pysg trwy Neifion—e gofir
Am gyfaill y beirddion;
A môr, a'i dònau mawrion,
Ar draethau, ymylau Môn.

## EMYN PASG.

Pan hoeliwyd Crist ein Meichiau,
Un prydnawn, un prydnawn,
E grynai 'r byd i'w seiliau,
Un prydnawn;
Yr haul uwch ben a dduai,
A'r nef a ymderfysgai,
Ond Ef ei waith orphenai,
Un prydnawn, un prydnawn,
A dyled Sion dalai,
Un prydnawn.

Hyd angau ymostyngodd,
Er ein mwyn, er ein mwyn,
Ac yn y bedd gorweddodd,
Er ein mwyn.

A brenhin braw gorchfygodd,
A byddin uffern baeddodd;
I'r làn yn fyw dyrchafodd,
Er ein mwyn, er ein mwyn,
A biliau 'r nef a groesodd!
Er ein mwyn.

E lawenychai anian,
Gyd â'r wawr, gyd â'r wawr,
Pan ddaeth o'r beddrod allan,
Gyd â'r wawr.
Y ddaear orfoleddai,
A'r nef a lawenychai;
Aneirif lu a'i molai,
Gyd â'r wawr, gyd â'r wawr,
Caersalem a'i croesawai,
Gyd â'r wawr.

Cerubiaid glân a seintiau,
Iddo Ef, iddo Ef,
A ganant nefawl odlau,
Iddo Ef.
Holl dorf Caersalem uchod,
A'u haur delynau 'n barod,
A seiniant uchel fawrglod,
Iddo Ef, iddo Ef,
A chanant byth heb ddarfod,
Iddo Ef..

## CWYNFAN TAD AR OL EI FAB.

SEF LLINELLAU AR YR ACHLYSUR O FARWOLAETH MAB Y PARCH. BULKELEY WILLIAMS, M. A. O'R WIGADD, GERLLAW PENTRAETH, MON.

MAE galar dwys yn llanw 'mron,
A'm calon sy 'n llesmeirio;
Can's angau creulon droes i'm tŷ,
A darfu fy ysbeilio!
Un oedd yn gysur im' o hyd,
Trwy helbul byd a'i drallod,
Ger bron fy llygaid dorai ' lawr,
Mewn mynyd awr â'i ddyrnod!

Fel rhosyn gwanwyn yn yr ardd,
Fo'n wrth-ddrych hardd i'r oror,
Pan fyddo 'n gwenu ar haul y nen,
A'i dirion ben yn agor;
Neu 'r lili dêg yn nghysgod perth,
Yn lledu ei phrydferth flodau,
Yn ddiau oedd fy mhlentyn llon,
Cyn teimlo awelon angau!

Holl sail fy ngobaith aeth i lawr
Yn awr, a'm disgwyliadau;
A'r un a dybiais gawn yn llon,
Yn gwmni at afon angau,
A alwyd i'r dragwyddol fro,
A'r dwfr o'm blaen a groesodd,
Ar ol ei fam, gan ado ei dad,
I'r fythawl wlad ymdeithiodd.

Ah! nid oes gobaith y daw 'n ol,
Gwaith ffol yw disgwyl hynny;
Er wylo ac och'neidio o hyd,
Ni symud ef ei letty!
Mor drwm yw edrych ar y fan,
Lle 'n ddiddan gynt bu 'n chwarau,
A'i hen gyfoedion oll yn iach,
Ond Bulkeley bach yn eisiau!

Mae 'i ardeb gennyf yn fy nhŷ,
Ond wrth im' syllu ar hwnnw,
Ni wna ond ychwanegu 'm cur,
A'm dolur am y marw!
A mynych mewn myfyrdod dwys,
O herwydd pwys gofidiau,
'Rwyf yn ei weled ger fy mron
Fel gynt, yn llon yn chwareu.

Ffarwel, fy mhlentyn, iti 'n awr,
O'th ol i lawr 'rwy 'n brysio,[1]
At rydau yr Iorddonen ddu,
Fy Ion fo im' nerthu yno;
Gobeithio 'r wyf cawn gwrdd yn nghyd,
Ar fryniau gwynfyd etto,
Lle na bydd raid ymadael mwy,
Ac na ddaw clwy' i'n blino.

[1] Mae yr hyn y cyfeirir atto yma wedi digwydd, canys y Parch. Bulkeley Williams ei hunan a fu farw cyn pen nemawr o amser ar ol cyfansoddiad y llinellau hyn, er galar dwys a cholled i bawb o'i gyfeillion a'i gydnabod.

## ENGLYNION

### A WNAED AR AGORIAD EISTEDDFOD BEAUMARIS.

Gwenu wna brodir Gwynedd—ar ddiwrnod
Arddurnawl ei fawredd;
Anian a geir yn unwedd,
'N gwisgo dawn, dan gysgod hedd.

Dyffryn a bryn sy 'n deffro,—daear Môn,
Dir mad, yn blodeuo;
Yr awyr lâs uwch y fras fro,
Yr egwyl hon sy 'n rhwygo.

Cilia llen y wybreni,—haul dysg
O'i chwyl-daith sy 'n codi;
Ei dro-gylch, i'n nengylch ni,
Oreurodd grib Eryri.

Darfu gorthrymder dirfawr,—a gwyrodd
Ei gaerau uchelfawr;
Gofid, a rhyfel gwae-fawr,
O'i le a gwympodd i lawr.

## Y BIBL.

Yr haul a ddua 'n entrych nwyfre dêr,
A syrth y lloer yn friwsion mân i lawr;
Ymdd'rysa troellawg gylchoedd maith y sêr,
Yn danllyd belen try y crwnfyd mawr;
Ond ynot ti mae gwir a dreiddia trwy
Faith dragwyddoldeb,—pan ddiflanont hwy.

## NOSWAITH OLAF Y DRWG-WEITHREDWR, CYN IDDO GAEL EI DDIENYDDIO.

PAN ddelo gwarant i ddienyddio carcharor i lawr i Newgate, caiff ei symud yn ddioedi i un o'r celloedd mwyaf diogel, lle ei cauir ef i fynu hyd nes iddo gael ei ddwyn allan i le ei ddienyddiad. Caniatteir iddo gerdded oddi amgylch yn y buarth, ond yma, yn gystal ag yn ei gell, bydd yn cael ei wylio yn barhaus gan allwedd-was *(turnkey)*, yr hwn nid ydyw yn ei adael dan yr un math o amgylchiad. "Aethum i mewn i un o'r celloedd yma," medd ysgrifenydd yn ddiweddar; "daeardy wedi ei wneyd o gerrig ydyw, wyth droedfedd o hŷd, a chwech o led; mae maingc yn un pen i'r gell, a chwrlid, ynghyd â Bibl a Llyfr Gweddi, o dan y faingc. Yr oedd canwyllbren haiarn wedi ei sicrhau yn y pared yn un ochr, a ffenestr fechan, uchel, o'r tu cefn, yr hon a ollyngai i mewn yr ychydig o oleuni a allai dreiddio rhwng y barrau heiyrn, y rhai a guddient y ffenestr." Meddyliwch am ddyn yn treulio ei noswaith olaf ar y ddaear yn y gell unig yma. Mae, fe allai, wedi ei lenwi gyda rhyw obaith ffugiol a disail, ond nis gŵyr paham, y bydd iddo dderbyn pardwn hyd yn nod ar yr unfed awr ar ddeg,—mae weithiau hefyd yn meddwl y gall ddiangc, ond nis gŵyr pa fodd.

Mae awr ar ol awr o'r diwrnod a gafodd i ymbarottoi ar gyfer tragwyddoldeb, yn myned heibio gyda chyflymder nad all ef ddim ei ddarlunio, ac nid ydyw yn ddichonadwy i neb, oddigerth dyn a fyddo yn brysio at afon angau, lunio yr un dychymmyg am gyflymdra amser yn pasio dan y cyfryw amgylchiad. Mae wedi blino ei gyfeillion gyd âg erfyniadau, ac wedi llwyr dreulio amynedd y rhai a osodwyd i'w wylied ef; ac yn mhoenau ei feddwl a'i drallodion mae wedi llwyr anghofio y rhybuddion prydlon a dderbyniodd gan y ffyddlon weinidog, yr hwn sydd yn barhaus yn ymweled âg ef. Y twyll a'r siomedigaeth, y rhai a fuont yn suo ei gydwybod i gysgu, ydynt yn awr yn cael eu gyrru ymaith, ac mae yn gweled tragwyddoldeb megis yn ymagor o'i flaen, ac yn teimlo baich o euogrwydd bron yn barod i'w lethu ef i'r ddaear. Golwg ar y pethau hyn, ynghyd âg ofn angau, ydynt bron a gyrru ei enaid ef i wallgofrwydd; ac mae syniadau ar ei gyflwr anobeithiol yn ymruthro arno, nes mae yn colli ei hunan ac yn dyfod yn hurt. Nid ydyw yn teimlo awydd i alw ar Dduw yn ei gyfyngder, ac nid ydyw yn myned i ymofyn am drugaredd a maddeuant i'r unig fan lle mae yn ddichonadwy iddo eu cael hwynt.

Yn y modd yma mae 'r oriau yn myned heibio, ac yntau yn eistedd ar ei faingc garreg a'i ddwylaw ym mhleth, ac yn hollol ddisylw o'r amser sydd yn diflanu ymaith oddiger ei fron ef. Y dydd sydd yn dyfod i'w derfyn, a'r nos yn ymdaenu o amgylch, gan gludo distawrwydd a phrudd-der gyda

hi. Mae tawelwch yn llanw yr heolydd, oddigerth trwst olwynion ambell i fèn yn croesi ar draws y palmant, yr hyn a rag-ddyweda wrth y truan condemnedig bod y boreu galarus yn dynesu atto. Mae awrlais mawr y dref yn taro—*un!* Yntau sydd yn ei glywed, ac yn cael ei ddeffro ganddo. Ah! nid oes iddo fwy na saith awr o fywyd etto! Mae yn codi, ac yn dechreu cerdded o gwmpas terfynau ei gell gyfyng, a defnynau oerion o chwys yn sefyll ar ei arleisiau, a phob gewyn yn ei gyfansoddiad yn crynu. Saith awr! Dyna ydyw terfyn eithaf ei fodoliaeth yn y bywyd hwn. Dychwel yn ol i'w eisteddle, mae yn cymmeryd y Bibl yn ei law, ac yn ymdrechu ei ddarllen a sylwi arno. Ond nis gall, mae ei feddyliau ar grwydr. Mae y llyfr wedi cael ei rwygo a'i faeddu wrth ei ddefnyddio, yn debyg iawn i'r Bibl oedd ganddo yn yr Ysgol ddeugain mlynedd cyn hynny! Nid agorodd mo hono o'r blaen er pan oedd yn fachgen. Ond mae 'r lle y bu yn darllen ynddo, y plant oedd-ynt o'i gwmpas ar y pryd, yn dyfod ger ei fron megis gweledigaeth y diwrnod a aeth heibio. Ac mae rhyw air digrif, a rhyw chwedl ddifyrus, a draethid gan rai o'i hen gymdeithion ef, yn dyfod i'w feddwl ac yn seinio yn ei glustiau, fel pe y digwyddasai ddau fynyd yn ol.

Llais isel yr Offeiriad wrth ddyfod i mewn sydd yn ei alw ef atto ei hun. Yna mae yn darllen iddo allan o'r Gyfrol Sanctaidd, gan osod ger ei fron yr addewidion sydd ynddi o faddeuant i'r edifeiriol, a'r bygythion ofnadwy a gyhoeddir uwch ben yr

hwn a galedo ei wàr! Mae yn syrthio ar ei liniau, ac yn plethu ei ddwylaw ynghyd i fŷned i weddïo. Ond, ust! beth oedd y trwst yna? Nid ydyw yn bossibl ei bod etto yn ddau o'r gloch. Gwrandewch! Dyna ddau chwarter; dyna dri, dyna bedwar.—Ah! dim ond chwe awr etto i fyw. Nid gwiw dywedyd dim wrtho am edifeirwch. "Chwe awr o edifeirwch am bechodau chwe wyth o flynyddoedd"—ydyw ei atteb ef. Mae yn cuddio ei wyneb gyd â'i ddwylaw, ac yn taflu ei hunan yn ol ar ei faingc.

Ar ol blino o hono yn gwylio, a chan gyffro a phoenau ei feddwl, y mae yn syrthio yn ddisymmwth i gysgu, ac mae yr un meddyliau ansefydlog yn ei ddilyn ef o hyd yn ei freuddwydion. Ond mae baich trwm megis yn cael ei symud ymaith oddiar ei ddwyfron ef. Mae yn gweled ei hunan yn rhodio gyd â'i briod mewn maesydd hyfryd, tra mae 'r wybren yn glir a'r haul yn pelydru mewn sirioldeb arnynt, a phob peth yn gwenu o'u cwmpas ar bob llaw;—pa mor wahanol i'r gell dywyll y mae ynddi, a muriau cerrig ei garchar! Mae ei briod yn ymddangos yn deg ac yn hawddgar iddo, fel yr arferai fod gynt pan oedd ef yn byw yn gariadlon gyda hi, cyn i dristwch a galar newid ei gwedd, a chyn i bechodau ac ysgelerder newid ei natur yntau. Mae yn rhoddi pwys ei phen ar ei fraich ef, ac yn edrych gyda serch caruaidd yn ei wyneb gan wenu arno; ac nid ydyw yntau yn ol ei arfer greulon yn ei tharo, ac yn ei gwthio hi ymaith. Ac mae yn ymddangos iddo ei hun ei fod gyda

llawenydd a hyfrydwch yn adrodd wrthi yr holl helyntion a anghofiodd y tro y gwelsai hi o'r blaen, ac mae yn gweled ei hunan yn syrthio i lawr ar ei liniau o'i blaen hi, i erfyn am ei phardwn o herwydd yr holl greulonderau a ddangosodd tu ag atti hi, y rhai a fuont yn achos o newid ei gwedd a thorri ei chalon.

Ond mae yn gweled yr olygfa yn newid. Mae yn canfod ei hunan ar ei dreial; ac yn gweled yr Ustus a'r rheithwyr, yr erlynwyr a'r tystion, ger ei fron ac o'i amgylch, megis y safent ar ddydd ei brawf. Mae yn gweled y llys yn llawn—llawer iawn o bobl ynddo—a chrog-bren ac esgyn-lawr yn y lle, ac mae yn canfod yr holl bobl yn syllu ac yn edrych yn graff arno ef. Mae yn clywed y ddedryd, *Euog*, yn cael ei chyhoeddi arno. Ond mae yn gweled ei hunan yn medru diangc ymaith. Y nos yn dduoer—dorau y carchar wedi eu gadael yn agored, ac mewn mynyd y mae yn gweled ei hunan yn carlamu yn nghanol yr heolydd, ac fel y gwynt yn gadael ei carchar. Yr heolydd ydynt oll yn weigion, ac yntau yn medru diangc ymaith i'r maesydd, ac yn canfod yr holl wlad yn agored o'i flaen. Mae yn gweled ei hunan yn carlamu trwy y tywyllwch dros gloddiau a ffosydd, trwy byllau ac afonydd, gan neidio a champio o gẁr i gẁr gyda chyflymder anghredadwy hyd yn nod iddo ef ei hunan. Ac o'r diwedd mae yn sefyll, gan dybied ei hunan yn awr yn ddiogel, ac mae yn myned i orwedd yn y glas-wellt ar lan yr afon hyd gyfodiad haul.

Ond oh! ar ol iddo ddeffro mae yn gweled nad oedd y cwbl yn ddim ond breuddwyd; ac mae yn canfod ei hunan etto yn yr un fan ag o'r blaen, yn oer a thruan. O'r diwedd gwel olenni llwyd y boreu yn dyfod i mewn yn lladradaidd i'w gell. Ac wedi ymddyrysu yn ei freuddwyd mae yn cyfodi oddiar ei wely anesmwyth, ac mae megis am fynyd mewn petrusder. Ond gwel bob gwrthddrych yn ei gell gyfyng yn rhy ofnadwy iddo i gam-gymmeryd pa le y mae yn aros. Mae o hyd yn berson condemniedig, yn llawn o euogrwydd ac anobaith;—ac mae bob mynyd yn disgwyl clywed sŵn traed yr Offeiriad yn dyfod atto i'r diben i ddarllen gwasanaeth ei gladdedigaeth; a chyn pen dwy awr mae ei holl ofnau a'i ofidiau yn y bywyd presennol ar ben, ac yntau ei hunan yn gorph marw.

# TRAETHAWD,

## AR DDECHREUAD, ANSAWDD, A DIBENION BARDDONIAETH.

MAE barddoniaeth yn fath o gelfyddyd ag sydd yn perthyn i ddyn yn naturiol, ac, o herwydd hynny, mae i'w chanfod ym mysg pob cenedl, ac i'w gweled ym mhob oes o'r byd. Ond yr un modd â phob celfyddyd arall o'r natur yma, canfyddir ei bod wedi cyrhaedd i radd mwy o berffeithrwydd ac enwogrwydd mewn rhai gwledydd na'u gilydd, ac wedi bod yn cael ei meithrin a'i choledd yn fwy gan rai cenhedloedd nag eraill. Os awn i chwilio am ddechreuad barddoniaeth, rhaid i ni fyned i ymofyn am dani i fysg dynion yn eu cyflwr anwaraidd, pan oeddynt yn preswylio 'r coedwigoedd, ac yn cyfanneddu yr anialwch. I'r diben hwn rhaid i ni fyned at yr helwyr a'r bugeiliaid, pan ydoedd dynoliaeth yn ei chyflwr cyntefig, ac heb ddechreu cael ei gwisgo ag addurniadau allanol celfyddyd. Canys pan ddechreuodd dynion gymdeithasu gyntaf â'u gilydd, gan gynnal gwleddoedd, cadw gwyliau a chymmanfaoedd, rhaid eu bod yn ymddifyru ar y cyfryw achlysuron gyda chaniadau, gyda pheroriaeth, ynghyd â dawns yn gyffredin. Yn y caniadau a arferid ganddynt ar yr achlysuron hyn,

yr oeddynt yn arfer clodfori a mawrhau eu gwroniaid a'u henwogion, ac yn gosod allan eu teimladau wylofus o herwydd aflwyddiant a thrychineb, yn arfer wylo ar ol perthynasau, a galaru ar ol cyfeillion, ac yn moli y Creawdwr, neu ynte yn talu y deyrnged ddyledus iddo Ef, i'w gau dduwiau o'u dychymmyg eu hunain.

Mae dau o bethau, megis o angenrhaid, yn gwahaniaethu barddoniaeth oddiwrth iaith rydd, sef y dull y gosodir y geiriau a'r ymadroddion ynghyd, a'r ffugurau ymadrodd sydd yn cael eu defnyddio. Dyma, yn ddiammeu, oedd y gwahaniaeth rhwng y dull yr oedd dynion yn arfer amlygu eu meddyliau mewn barddoniaeth, â'r modd y byddent yn ymddiddan ar fatterion cyffredin. Wrth i'r meddwl gael ei gynhyrfu i ddarlunio rhyw wrthddrych neillduol, a phan y byddom yn ymdrechu gwneyd hynny gyda rhyw rym a theimlad mwy nag arferol, yr ydym yn gyffredin yn ymdrechu mawrhau yr hyn sydd yn fychan ynddo ei hunan, ac yn ceisio gwneyd i bawb eraill deimlo yr hyn a deimlir gennym ni. Yr ydym yn cydmaru y gwrthddrychau lleiaf gyda y rhai mwyaf, ac yn galw ar y pethau a fyddont o'r golwg megis pe byddent yn bresennol, ac hyd yn nod yn cyfarch pethau difywyd yn y greadigaeth fel pe byddent yn meddu ar synwyr a deall. Felly nid ydyw y gwahanol ddulliau ymadrodd sydd yn cael eu defnyddio ddim yn amgen nag iaith farddonol yn y dechreuad.

Mae yn hawdd i ni ganfod hefyd bod gwahanol hinsoddau, ynghyd âg amrywiaeth yn y dull o fyw,

yn meddu dylanwad nid bychan ar deithi barddoniaeth ym mysg gwahanol genhedloedd. Megis prawf o hyn gallwn grybwyll am farddoniaeth y Gothiaid, ynghyd â chenhedloedd anwar y gogledd, canys mae eu caniadau hwynt yn archwaethu o anwareidd-dra, digofaint, a thywallt gwaed. Tra i'r gwrthwyneb, y mae barddoniaeth y Peruviaid, a'r Chineaid, yn gyffredin yn ymwneyd gyda thestynau addysgiadol a difyrus. Caniadau cyntefig yr hen Frytaniaid, a'r holl lwythau Celtaidd, ydynt yn fynych yn dwyn perthynas â rhyfeloedd, ynghyd â gweithredoedd o ddewrder ac arwriaeth, tra ar yr un pryd y canfyddir llawer o deimlad a phurdeb gwreiddiol yn eu dull hwynt o gyfansoddi. A'r achos pennaf o hyn, yn ddiddadl, ydoedd y sylw manol a dalai y cenhedloedd yma i farddoniaeth, a bod y beirdd yn eu mysg hwynt yn fath o sefydliad ar ei ben ei hun, y rhai yn y modd yma a gaent gyfle o oes i oes i ddilyn eu hoff gelfyddyd.

Ym mysg y Groegiaid, canfyddir cyfran helaeth o philosophyddiaeth yn gymmysgedig â'u barddoniaeth foreuol, canys yn ngwaith eu beirdd mwyaf oedranus, megis Orpheus, Musæus, Linus, a Hesiod, gwelir hanes am ddechreuad y greadigaeth, dyfodiad y byd i'r drefn y gwelir ef yn awr, ynghyd â dechreuad pob peth byw. A'r holl bethau yma ydynt yn unol â'r dull y maent yn cael eu gosod allan gan yr hen philosophyddion paganaidd. Yr Arabiaid a'r Persiaid hefyd ydynt wedi bod yn nodedig bob amser megis beirdd enwog, y'mharthau dwyreiniol y byd.

Yn y dechreu yr oedd pob math o farddoniaeth yn gymmysgedig, heb ddim gwahaniaeth yn cael ei ddangos rhwng y naill gangen a'r llall. Ond fel y dechreuodd celfyddyd a gwybodaeth ennill tir, gosodwyd y gwahanol fath o gyfansoddiadau barddonol ar eu penau eu hunain, ac enwyd pob cangen gyd â'r enwau sydd arnynt yn bresennol.

Mae yn debygol bod Awdlau ac Emynau ym mysg y cyfansoddiadau barddonol blaenaf. Marwnadau hefyd, fel y gellid yn naturiol ddisgwyl, oeddynt yn ddiddadl ym mysg yr anturiaethau cyntaf mewn barddoniaeth. Gwaith dynion yn adrodd hanes gweithredoedd grymus a nerthol ym mysg gwroniaid eu cenedl, a roddes ddechreuad i farddoniaeth arwraidd. Oddi yma hefyd y daeth yr arferiad o osod gwahanol bersonau i gynnrychioli arwyr ac enwogion, wrth ddarlunio eu gwroldeb a'u gweithredoedd grymus hwynt; a hyn ydoedd dechreuad y gangen honno o farddoniaeth a elwir y ddynwaredol *(dramatic)*.

Ar y cyntaf, nid oedd iaith rydd a barddoniaeth ddim yn cael eu gwahaniaethu; ond yr oedd pob math o gyfansoddiadau yn cael eu cymmysgu yn ddiwahaniaeth. Canys ym mysg rhai o'r cyfansoddiadau cyntaf mae yn ddiammeu bod hanesiaeth, areithyddiaeth, a barddoniaeth, yn cael eu cymmysgu gyd â'u gilydd. Ond yn gyffredin, y sawl a ddymunent gynhyrfu teimladau eu cyfeillion a'u cyd-wladwyr, neu a ewyllysient roddi addysg fuddiol a hyfforddiadau iddynt, a ymdrechent wneyd hynny trwy gyfrwng barddoniaeth. Yn y modd

yma yr ydym yn canfod croniclau a hanesion y rhan fwyaf o genhedloedd y byd wedi cael eu hysgrifenu ar ddull barddonol yn y dechreu; a'u cyfreithiau hefyd yr un modd, ynghyd â'r deddfau â'r rhai eu llywodraethid hwynt. Ond cofiwn mai yn nechreuad a mabandod gwybodaeth a dysg yr oedd y pethau uchod yn y cyflwr a nodwyd. Yr amser yr oedd yr un dyn yn adeiladu y tŷ y preswyliai ynddo, yn trin ei dir ei hunan, ac yn troi allan, pan y byddai galw am hynny, i faes y gwaed yn erbyn ei elynion.

Ond mewn amser, fel y cynnyddodd gwybodaeth yn y byd, daeth barddoniaeth yn gelfyddyd ar ei phen ei hun, a'i diben yn bennaf ydyw rhoddi addysg a hyfrydwch, ac effeithio ar y nwydau a'r dychymmyg. Mae yn hawdd i ni ddychymmygu bod barddoniaeth yn ei dull cyntefig yn fwy grymus a theimladwy, ac er nad oedd yn meddu ar gymmaint o addurniadau, yr oedd yn fwy naturiol ac yn effeithio yn fwy ar y nwydau. Canys y pryd hwnnw yr oedd y bardd yn adrodd ei deimladau mewn dull naturiol a diaddurn; ac nid rhyfedd bod y cyfryw farddoniaeth yn canfod ei ffordd yn haws i'r galon, ac yn effeithio yn ddwysach ar y teimladau, na'r un ag y byddo mwy o gelfyddyd a llai o natur ynddi. Ymddengys bod barddoniaeth a pheroriaeth yn cydfyned â'u gilydd ar y cyntaf, a hyn ydoedd y diben o lunio y gwahanol fesurau a ganfyddir mewn barddoniaeth. Y bardd a fyddai yn arfer addasu ei eiriau at y gwahanol dônau mewn arferiad, a'i ganiadau yn fynych a

genid ganddo ef ei hun, tra y byddai yn dilyn ei lais gyda rhyw fath o offeryn cerdd. Yr arferiad o ganu gyd â'r delyn ym mysg rhai o drigolion y Dywysogaeth, sydd yn dwyn perthynas agos gyd â'r hen ddull cyntefig uchod, pan y byddai y bardd yn canu ei waith ei hunan, ac yn dilyn ei lais gyd â'r delyn neu grwth.

Nid aml y canfyddir pobl yn gyffredinol yn medru iawn brisio barddoniaeth, yn enwedig y radd uchaf a mwyaf ardderchog o'r gelfyddyd. Y mae 'r dalent hon yn perthyn i alluoedd uwchlaw y cyffredin, ac o ganlyniad rhaid bod dynion yn meddu ar amgyffredion uwch na chyffredin cyn y medront ei hiawn brisio a chanfod ei godidawgrwydd. Yr oedd Alexander Fawr, Julius Cæsar, Scipio, Augustus Cæsar, a Napoleon Buonaparte, i gyd yn ddynion o amgyffredion uwchlaw 'r cyffredin; ac er nad oeddynt yn meddu ar dalentau i farddoni, etto dywedir eu bod yn hoffi prydyddiaeth yn fawr, a bod gwaith y beirdd yn cael effaith a dylanwad nid bychan arnynt. Pan y meddyliom am y galluoedd ag y mae yn rhaid i ddyn fod yn feddiannol arnynt, cyn y gall honni iddo ei hun yr enw o fod yn fardd o enwogrwydd, bydd yn hawdd i ni allu canfod rhagoriaethau y gelfyddyd. Rhaid ei fod yn meddu ar alluoedd cryfion, a thalentau naturiol, synwyr didwyll, a deall clir; gallu i ddychymmygu pethau yn drefnus, a'u gosod allan gyda chwaeth; ac ehediadau meddyliol heb fod yn ymddibynu ar gelfyddyd na dysgeidiaeth, ond yn tarddu yn hollol oddi uchod. Nid ydyw 'r bobl hynny ag sydd

yn gwneyd rhyw ystŵr mawr trwy gyfansoddi caniadau, yn y rhai y gellir canfod rhyw ychydig o athrylith awenyddol yma ac accw, yn teilyngu yr enw o feirdd mewn gwirionedd. Nid oes ynddynt ddim o'r tân nefolaidd hwnnw ag sydd yn gosod y gwir fardd mewn sefyllfa o enwogrwydd ym mhell uwchlaw y crach-feirdd. "Dylid bod yn ofalus," meddai Horace, "rhag halogi yr enw godidog hwn, trwy ei briodoli i bawb a gymmerant arnynt ysgrifenu barddoniaeth. Canys," meddai, "i wneyd un yn fardd, rhaid bod rhywbeth dwyfol yn yr enaid; syniadau goruchel, a meddyliau grymus, ynghyd â rhyw fawrhydi uwchlaw 'r cyffredin." Nid ydyw bod yn rhyfelwr enwog, neu bod yn fedrus yn y celfyddydau, ddim i'w cydmaru â bod yn fardd enwog. Er mwyn i ni allu profi hyn trwy enghraifft, bydded i ni gymmeryd Homer dan sylw. Mae yn ddiddadl bod athrylith y dyn nodedig hwn yn rhagori ar bawb a fu yn y byd erioed, oddigerth yr ysgrifenwyr Ysprydoledig. Yn ei waith ef y canfyddir yr athrylith fwyaf cyrhaeddadwy a dyfnaf, o neb o'r holl ysgrifenwyr cenhedlig. O'i waith ef y tynodd deddf-roddwyr enwog Sparta ac Athen gynlluniau cyntefig eu cyfreithiau, ac yma y cafodd sylfaenwyr boreuol ymerodraethau a theyrnasoedd y portreiadau cyntaf pa fodd i reoli eu deiliaid. Y philosophyddion a dynnasant oddi yma rai o elfenau cyntaf eu celfyddyd; a'r seryddion a ddysgwyd ganddo i ddarllen wyneb y ffurfafen. Wrth ddarllen caniadau Homer y dysgodd brenhinoedd a thywysogion yn aml arwain eu byddinoedd i faes

y rhyfel, i gymmeryd dinasoedd, ac i ennill buddugoliaethau. Dyma lle y cafodd Socrates, Plato, ac Aristotle, lawer o egwyddorion athroniaeth, ac y tynodd Sophocles ac Euripedes gynlluniau eu prudd-dreithiau *(tragedias)* digyffelyb. Wrth ddarllen gwaith y bardd enwog hwn y tueddwyd meddyliau Apelles i dynnu darluniadau, ac y dysgwyd bysedd Alexander Fawr i ryfela.

Er mwyn traethu yn fanylach ar y testun dan sylw, bydd i ni olygu y gwahanol ganghennau ag y rhennir barddoniaeth iddynt, gan grybwyll am bob cangen ar ei phen ei hun.

## BARDDONIAETH ARWRAIDD.

*(EPIC POETRY).*

Y GANGEN hon o farddoniaeth a gyfrifir y fwyaf godidog a'r ardderchoccaf o gwbl. Rhy brin y mae y deall a'r galluoedd dynol yn abl i'r gorchwyl o ysgrifenu cân arwraidd, yn atteb y'mhob peth i'r cynllun sydd wedi cael ei osod i lawr gan brif feirniaid a dysgedigion yr oesoedd. Mae cân arwraidd i gynnwys darluniad o ryw weithred bwysig a fyddo wedi cymmeryd lle. A rhaid i'r weithred hon fod yn gyflawn ynddi ei hunan, rhag bod dyryswch yn yr hanes. Dylai hefyd fod yn

wirioneddol, i'r diben o dderbyn crediniaeth; a dylai fod yn weithred bwysig, fel ag i roddi addysg i hyd yn nod frenhinoedd a thywysogion, ac i osod i lawr esiamplau o rinwedd a gweithredoedd da i bawb yn gyffredinol. Rhaid i'r weithred yn y modd yma fod yn dwyn cyfartaledd â'r gorchwyl a gymmerir mewn llaw, ac ni ddylai fod yn rhy ddisylw nag yn rhy faith. Rhyfel Caerdroia, yr hwn a barhaodd am ddeng mlynedd o amser, a fuasai yn rhy hir i fod yn destun arwr-gân; o ganlyniad, Homer a gymmerodd y pymtheng niwrnod ar hugain y parhaodd Achilles yn ei lid, i fod yn destun ei Iliad. Tra mae 'r holl ddigwyddiadau mewn cân arwraidd i fod yn naturiol, etto ni ddylai yr awdwr ddilyn yr hanes yr un modd â hanesydd; megis ag y dywed Horace am un awdwr, yr hwn a ddechreuodd ei waith ar ryfel Caerdroia gyda genedigaeth Helen, yr hon ydoedd yr achos dechreuol o'r rhyfel. Ond er mwyn gwneyd holl amgylchiadau yr hanes yn fwy nodedig a rhyfeddol, ac ar yr un pryd yn fwy effeithiol a phleserus, mae cerdd arwraidd yn rhuthro ar unwaith i ganol yr hanes a draethir.

Er enghraifft o hyn, gwelwn Virgil, pan yn rhoddi hanes am Æneas yn ffoi o Gaerdroia, y noswaith y cafodd ei dinystrio, ac yn mordwyo drosodd i'r Eidal, lle mae yn sefydlu yr ymerodraeth Rufeinig, yn dechreu ei gân arwraidd gyd â'r dymmestl a chwythodd yr arwr ynghyd â'i lynges i oror Carthage, pan oeddynt yn mordwyo yn ngolwg yr Eidal. Ac ar ol hyn mae yn myned rhagddo i

draethu yr hanes a ragflaenai y pethau hyn. Mae dull ac amcan barddoniaeth arwrol yn dangos ei bod yn rhagori ar yr un arall. Mewn prydyddiaeth fugeiliol, y meddyl-ddrychau ydynt yn dwyn perthynas gyda diniweidrwydd, heddwch, a llawenydd. Ennyn cydymdeimlad ydyw un o brif ddibenion prudd-draith *(tragedy)*; a gwawdio a beio ydyw amcan pennaf chwardd-draith *(comedy)*. Ond nodweddiad pennaf arwr-gerdd ydyw taro 'r meddwl gyda syndod wrth ddesgrifio gweithredoedd o wroldeb ac enwogrwydd. Er mwyn i'r darllenydd gael rhyw feddyl-ddrych am natur a theithi cerdd arwraidd, bydded i ni daflu cipolwg dros gynnwysiad Æneid Virgil, yr hwn, yn marn y beirniaid rhagoraf, sydd yn cynnwys y cynllun goreu o gân arwraidd o'r un mewn bod.

Y testun ydyw sefydliad Æneas yn yr Eidal, a sylfaenu yr Ymerodraeth Rufeinig. Mae 'r bryddest yn dechreu trwy ddarlunio Juno, brenhines y nef, yn ymdrechu rhwystro yr arwr i gyflawni ei ddibenion yn hyn. Yr olwg gyntaf a gawn arno ydyw yn nghanol tymmestl arswydus ar y môr, gyd â'r hon y bwriedid ei ddinystrio ef ynghyd â'i holl lynges. Y darluniadau yma ydynt yn rymus ac yn farddonol i'r graddau uchaf. Saith o'i longau a gyrhaeddant yn ddiogel i Carthage, ar oror Affrica; a'r gweddill a ddryllir, ac a gleddir yn yr eigion. Ar ol iddo ef a'i wyr lanio, maent yn cael eu derbyn gyda chroesaw mawr gan Dido, brenhines enwog y lle, yr hon oedd wedi clywed sôn am ryfel enwog Caerdroia, ac am Æneas, ym mysg

gwroniaid nodedig y dydd. Yma mae 'r frenhines yn gwneyd gwledd ardderchog i'w deiliaid ei hunan, ac i'r dieithriaid oeddynt newydd lanio; a chyn terfynu, dymunir ar Æneas adrodd ger bron y gwyddfodolion am y dull y cymmerwyd dinas enwog Caerdroia, a'r modd y diangodd ef allan o honi. Hyn a ddwg y bardd i ddechreuad yr hanes. Wedi i bawb roddi gosteg, mae 'r arwr yn cyfodi, ac yn dechreu adrodd am ddichell y Groegiaid yn cymmeryd y dref, trwy anfon ceffyl pren yn llawn o wŷr arfog i mewn iddi—y gelynion yn dilyn o'i ol trwy y dorau, y rhai a adawsid yn agored gan y dinaswyr, pan oeddynt bawb wedi ymroddi i loddest a meddwdod, gyd â'r dyb bod y Groegiaid wedi diangc ymaith i'w gwlad enedigol. Y darluniad a roddir yma o'r ddinas ar dân—ymdrech y trigolion gyd â'r gelynion—lladd Priam y brenhin y'ngwaed ei fab—a gadael arglwydd enwog Asia yn gorph marw ar lan y môr, wedi ei anurddo â gwaed a llaid —Æneas yn ffoi ymaith o'r ddinas a'i dad ar ei gefn, a'i blentyn yn ei law, a'i wraig yn dilyn ar ei ol—yn colli ei wraig, ac yn dychwelyd yn ol i ymofyn am dani—yn gweled y gelynion mewn meddiant o'i annedd, a'r tân difaol yn ei hysu ym mhob cŵr—ydynt ym mysg yr enghreifftiau mwyaf godidog mewn bod o rym a chyrhaeddiadau y galluoedd dynol. Mae 'r awdwr yn myned ym mlaen ar ol hyn, ac yn adrodd hanes carwriaeth y gwron gyda Dido, y frenhines; ac yn y diwedd mae Jupiter yn ei orchymyn i ymadael â Charthage, a'r frenhines sydd yn lladd ei hunan mewn anobaith

ar ol ei ymadawiad ef. Wrth fyned rhagddo i'r Eidal, mae yn aros yn Sicily, i gyflawni y gwahanol gampau, a arferid y pryd hwnnw, er coffa marwolaeth ei dad. Ond ar yr un pryd, mae y rhai a gawsant eu gadael yn y porthladd yn rhoddi tân yn y llynges, yr hwn a attaliwyd rhag ei dinystrio trwy gawod wyrthiol o wlaw.

Ar ol hyn mae 'r gwron yn myned i'r byd isod, neu faesydd Elysium, i ymweled â'i dad. Yn yr hynt nodedig yma, y mae 'r awdwr wedi dangos amgyffredion rhyfeddol, wrth ddesgrifio 'r fynedfa i'r byd arall, cosp y damnedigion, dedwyddwch y daionus, &c. er bod ganddo amryw bethau a ellid ystyried gennym ni, y rhai ydym yn mwynhau goleuni datguddiedig, yn blentynaidd ac yn ffol, ond dylem gofio nad oedd ganddo ef ddim ond goleuni natur yn unig i'w arwain. Wedi iddo ddwyn ei wron i'r Eidal, trwy luaws o anhawsderau a thrallodion, y mae un Turnus a Mezentius yn codi yn ei erbyn ef, a rhyfel brwd sydd yn dilyn; ac mae yr awdwr yn myned drwy yr holl amgylchiadau mewn dull godidog ac awenyddol, nes o'r diwedd i Turnus syrthio yn y rhyfel, ac i Æneas ennill y fuddugoliaeth.

Mae Virgil, yn ei ddull a'i gynllun yn rhagori ar Homer, ond Homer ydyw y gwaith gwreiddiol, ac mae ei ddrych-feddyliau yn tra rhagori ar yr eiddo neb arall.

Y nesaf at y ddau fardd digyffelyb uchod, fel awdwr y gân arwraidd, ydyw Tasso, yn ei bryddest orchestol ar gymmeriad Jerusalem oddiar y

Saraceniaid. Milton, yn ei Goll Gwynfa, hefyd sydd yn cael ei gyfrif ym mysg y rhai blaenaf o'r awdwyr a hynodasant eu hunain yn y dull hwn o farddoni. Cymmerodd Milton lwybr hollol newydd yn y gân nodedig uchod. Canys mor gynted ag yr agorom ei Goll Gwynfa ef, yr ydym yn canfod ein hunain mewn mynyd yn mro yr anweledigion, ac yn cael ein hamgylchu gan fodau nefol ac uffernol. Ond llawer o'r beirniaid rhagoraf a haerant nad ydyw y bryddest ryfeddol hon ddim yn gân arwraidd. Ond, beth bynnag am hynny, mae yn ddiammeu ei bod yn dangos talentau a galluoedd rhyfeddol; ac mewn un nodweddiad perthynol i gân arwraidd, sef meddyl-ddrychau godidog a dyrchafedig, mae yn ddiammeu ei bod yn gyfartal i'r un a ysgrifenwyd erioed. Gallasai gael testun mwy priodol i ysgrifenu cân arwraidd arno; ond fel y dywed un awdwr dysgedig ar y matter—"Gwyddai yn dda beth oedd yn cyd-weddu oreu â'i dalentau ef, a gwyddai pa alluoedd yr oedd natur wedi ei gynnysgaeddu â hwynt, yn anad neb arall, sef galluoedd i ddarlunio pethau bron yn anarluniadwy, peri i'r hyn sydd yn ddisglaer ymddisgleirio, gosod pethau dychrynllyd allan yn fwy dychrynllyd, gwneyd tywyllwch yn fwy tywyll, a'r pethau ofnadwy yn fwy ofnadwy."

Prin y gellir dywedyd bod yr un cyfansoddiad gwreiddiol yn yr iaith Gymraeg, yn meddu ar nodweddiad pryddest arwraidd. Mae Gododin Aneurin yn meddu rhyw gymmaint o natur cân arwraidd ynddo, er nad ydyw yn unol â'r rheolau

gosodedig i'r cyfryw gyfansoddiad, yn y pethau mwyaf anhebgorol braidd. Cywydd y Drindod, gan Dafydd Ionawr, sydd hefyd yn fath o bryddest arwraidd, ond nid ydyw y weithred yn un, ac nid ydyw yr awdwr yn dilyn yr un nodweddiad trwy y gân. Mae Cywydd y Diluw hefyd yn lled gyffelyb. Ond mae yn debygol mai "Joseph, Llywodraethwr yr Aipht," gan yr un gwr, sydd yn meddu mwyaf o nodweddiad cerdd arwraidd o'r un cyfansoddiad Cymreig a ymddangosodd yn yr oesoedd diweddar.

## BARDDONIAETH DDYNWAREDOL.

### *(DRAMATIC POETRY).*

Y mae barddoniaeth ddynwaredol yn cael ei rhanu yn ddwy gangen, sef prudd-draith *(tragedy)*, a chwardd-draith *(comedy)*. Gellir dywedyd am brudd-draith, pan y mae yn cynnwys darluniad o ymddygiadau a nodweddiad dyn yn rhai o'r amgylchiadau cyfyngaf ag y dichon iddo gael ei ddwyn iddynt yn ystod ei daith ddaearol, ei fod yn farddoniaeth o'r radd uchaf. Y mae yn cynnwys darluniad digyfrwng o'r nodweddiad dynol. Nid ydyw, yr un modd â'r arwr-gerdd, yn gosod y nodweddiad hwn allan trwy waith y bardd yn traethu

am dano. Ond mae 'r bardd ei hunan yn myned allan o'r golwg, a'r personau sydd yn cael eu darlunio a ddygir ger ein bron eu hunain, i osod allan eu gweithredoedd, ac a lefarant yr hyn a fyddo yn cyd-weddu â'u nodweddiad hwy eu hunain. Nid oes yr un dull o ysgrifenu yn gofyn cymmaint o adnabyddiaeth â'r natur ddynol, â'r dull uchod; ac nid oes yr un a effeithia gymmaint ar y nwydau a'r tymmerau, os dilynir ef yn gymmwys. Y mae yn gyffelyb i ddrych, neu o'r un lleiaf dylai fod felly, yn yr hwn y gall dynion ganfod eu hunain, yn gystal a'r drygioni sydd yn barod i'w hamgylchu hwynt. Ceir gweled trwy 'r dull hwn o ysgrifenu hefyd ddarluniad cywir o'r nwydau dynol, a'u heffeithiau dychrynllyd pan yr elont tu hwnt i derfynau rheswm. Y Groegiaid a hynodasant eu hunain uwchlaw neb, yn y dull hwn o farddoni, yn gystal a phob dull arall. Prudd-dreithiau Eschylus, Sophocles, ac Euripedes, ydynt, ar lawer o ystyriaethau, heb eu cyffelyb ym mysg yr un genedl hyd yma. Ond mae ein cydwladwr enwog, sef Shakespeare, ar y cyfan, mae yn ddiammeu, yn gyfartal i'r un ysgrifenydd, yn y dull hwn, a fu erioed mewn un wlad dan haul. Rhagoriaethau y bardd nodedig hwn ydyw ei fod yn llefaru iaith natur, a hyn ydyw yr achos ei fod yn meddu ar gymmaint o rai i'w hoffi, er gwaethaf llawer o ammherffeithderau sydd ynddo. Dywed un beirniad enwog am dano, "ei fod yn ddyn, yr hwn o holl feirdd yr oesoedd diweddaf, ac fe allai, y cyn-oesoedd hefyd, a feddai y meddwl mwyaf ëang. Holl

wrth-ddrychau natur oeddynt yn bresennol ger bron ei lygaid ef, a darluniai hwynt, nid gyda llafur, ond mewn dull ffawdus. Pan fyddo yn darlunio unrhyw wrth-ddrych, yr ydym nid yn unig yn teimlo 'r gwrth-ddrych, ond yr ydym hefyd yn ei weled. Y rhai a ddywedant am dano ei fod yn ddiffygiol mewn dysg, a roddant iddo y ganmoliaeth fwyaf a all gael gan neb. Yr oedd yn ysgolhaig o naturiaeth, ac nid oedd arno angen am lyfrau, yn gyffelyb i syllwydrau, i'r diben o'i gynnorthwyo i ddarllen natur. Nid allaf ddywedyd ei fod yr un ym mhob peth, bob amser. Pe gwnawn hynny, cydmerwn ef i'r pennaf o ddynolryw. Ond mae yn fynych yn isel a diflas; a'i ffraeth-ddywediadau ydynt yn aml yn annaturiol, a'i ehediadau difrifol weithiau yn llawn o chwyddiaith. Ond mae bob amser yn ddyn mawr pan y byddo rhywbeth mawr yn galw am hynny."

Nid oes yr un cyfansoddiad yn Gymraeg o'r un natur â phrudd-draith mewn ieithoedd eraill. Mae yn wir bod gennym rai enghraifftiau o farddoniaeth ddynwaredol, ond nid oes yr un o honynt yn perthyn i'r dosparth yma yn uniongyrchol. Theomemphus y Parch. William Williams, Pant y Celyn, sydd farddoniaeth ddynwaredol, yn gystal â'r *Interludes* a ysgrifenwyd gan wahanol awdwyr y ganrif ddiweddaf.

Y gangen arall o farddoniaeth ddynwaredol ydyw chwardd-draith *(comedy).* Prif nodweddiad y dull hwn o ysgrifenu ydyw, ei fod yn cynnwys darluniad duchanol o ffolineb a beiau dynolryw, yr

hyn sydd yn unol â moesoldeb ar bob ystyriaeth, ac yn fynych yn llesol hefyd. Nid oes dim yn natur y dull hwn o farddoni a all ei ddwyn dan gerydd. Mae dangos i ddynion eu ffaeleddau, a gosod llygredigaethau allan yn eu gwisg eu hunain, yn wasanaeth i'r byd yn gyffredinol. Gwyddom bod llawer o feiau, y rhai y gellir eu gosod allan yn eu hatgasrwydd mwyaf, a dwyn dynion i'w casâu hwynt yn fwy trwy eu gwawdio a'u dirmygu, na thrwy ddwyn y rhesymau cadarnaf yn eu herbyn. Ar yr un pryd rhaid i ni addef mai offeryn peryglus i'w osod yn nwylaw yr anghelfydd ydyw gwawdio. A mynych y mae wedi cael ei ddefnyddio i wneyd mwy o ddrwg nag o ddaioni. Yn nwylaw awdwyr anfoesol, gall chwardd-draith fod yn foddion i wneyd llawer o ddrwg, trwy gam-arwain a llygru dynion. Ond yn nwylaw awdwyr yn ymdrechu gwneyd daioni, gall fod yn foddion i roddi difyrwch ac addysg heb wneyd niwed i neb.

Y bai a nodwyd uchod sydd i'w weled yn amlwg iawn yn *Interludes* Twm o'r Nant, yn gystal ag amryw eraill. Diddadl bod amryw o'r chwaryddiaethau hyn yn cynnwys llawer o addysgiadau rhagorol, ac yn fynych yn dra naturiol, ond ni bu yr awdwyr yn ddigon gofalus i gadw allan o honynt bethau o duedd i lygru yr oes, a gwneyd mwy o niwed nag o les. Twm o'r Nant ydyw y rhagoraf yn y dull hwn o ysgrifenu, yn ein hiaith, ond mae gwawdio yn gyffelyb i offeryn anghyfaddas yn ei law ef, ac nis gwyddai pa fodd i'w drin i'r diben o fod yn llesol.

## BARDDONIAETH DELYNOL.

### *(LYRIC POETRY).*

Rhoddir yr enw uchod ar Awdlau o bob math; canys bwriedid Awdlau ar y cyntaf i gael eu canu gyd âg offeryn cerdd. Ond mewn amser daethant mor amrywiol, a dyfeisiwyd cymmaint o wahanol ddulliau o honynt, fel ag y rhoddwyd yr enw o farddoniaeth delynol ar bob math o brydyddiaeth oedd yn dwyn y nodweddiad cyntefig hwnnw, pa un a fwriedid ef i gael ei ganu gyd âg offeryn cerdd ai peidio. Mae yn amlwg bod yr Awdl yn debyccach i'r dull cyntefig o farddoni, nag yr un dull arall. Yn y dull hwn y byddai y beirdd cyntaf yn arfer tywallt ffrwyth eu myfyrdodau, yn clodfori eu duwiau a'u gwroniaid, yn datgan clod eu buddugoliaethau, ac yn galaru o herwydd aflwyddiant a thrychineb. Yr awdwyr enwoccaf yn y dull hwn o farddoni ydynt Pindar ac Anacreon ym mysg y Groegiaid, Horace ym mysg y Lladinwyr, a Cowley a Gray ym mysg y Saeson. Y Salmau, yn yr iaith wreiddiol, ydynt fath o Awdlau o'r dull mwyaf goruchel, ac wedi cael eu haddasu i'w canu gyd âg offerynau cerdd. Nid ydyw yr Awdlau Cymreig, yn yr oes ddiweddaf, yn cadw tu fewn i'r dull hwn o farddoni ym mysg yr un genedl arall, canys mae amryw o honynt yn meddu mwy o nodwedd caniadau arwraidd nag sydd yn gweddu i Awdl.

Gellir dynodi yr Awdlau canlynol yn meddu ar ragoriaethau mawr ym mysg cynnyrch yr awen Gymreig, sef "Dinystr Jerusalem," gan Mr. Ebenezer Thomas; "Rhaglawiaeth Sior y Pedwerydd," gan Cawrdaf; "Elusengarwch," gan Dewi Wyn; "Gwledd Belshasar," gan Ieuan Glan Geirionydd; "Drylliad y Rothsay Castle," gan Caledfryn, &c. &c. a llawer eraill heblaw hyn, y rhai a dderbyniasant wobrwyon Eisteddfodau yn yr oes hon.

## BARDDONIAETH HYFFORDDIADOL, A DARLUNIADOL.

*(DIDACTIC POETRY, &c.)*

Barddoniaeth hyfforddiadol sydd fath o draethawd mewn prydyddiaeth, un ai ar philosophyddiaeth, athroniaeth, neu ryw gangen arall o wybodaeth fuddiol; megis gwaith Lucretius ar "Natur pethau;" Virgil ar "Amaethyddiaeth;" Pope ar "Feirniadaeth;" Horace a Boileau, &c. &c. ar "Farddoniaeth." Mewn traethawd o'r natur yma rhaid i'r bardd ymdrechu rhoddi hyfforddiadau i'w ddarllenwyr, ond ar yr un pryd dylai gofio mai ysgrifenu barddoniaeth y mae; ac felly rhaid iddo fritho ei waith gyda darluniadau a fyddont yn debyg o gynhyrfu y nwydau, a difyrru y darllenydd.

Yr enghraifft ragoraf o farddoniaeth hyfforddiadol a geir yn ngwaith Virgil ar "Amaethyddiaeth." Y mae 'r awdwr enwog hwn yn edrych ar bob peth gyda llygad bardd, ac yn addurno testun sychlyd a marwaidd ynddo ei hun, gyd â'r fath amrywiaeth o ddarluniadau awenyddol, nes ei wneyd ar yr un pryd yn fuddiol ac yn ddifyrrus. Ac heblaw traethu pethau mewn iaith farddonol, caniatteir rhyddid hefyd, mewn barddoniaeth hyfforddiadol, i'r ysgrifenydd droi allan o'i lwybr ar brydiau, er mwyn addurno ei waith gyda meddyl-ddrychau mwy bywiog a chynhyrfus. Addurniadau pennaf Virgil, yn ei bryddest ddigyffelyb ar Amaethyddiaeth, sy 'n gynnwysedig yn y pethau hyn; megis y rhyfeddodau a ragflaenasant farwolaeth Cæsar, molawd yr Eidal, dedwyddwch bywyd yr amaethydd, y pla ym mysg y praidd yn yr Alps, hanes Aristeus, &c. Gwaith Dafydd Ddu Eryri ar Arddwriaeth, Dewi Wyn ar Amaethyddiaeth, a'r Parch. E. Hughes, Bodfari, ar yr un testun, ydynt gyfansoddiadau o'r natur yma. Ond mae gwaith Pedr Fardd ar y "Pedwar mesur ar hugain," yn dra chywrain, ac yn meddu ar fwy o nodweddiad y dull hwn o farddoni nag odid yr un o'r rhai blaenorol. Gwelir amryw enghreifftiau godidog o farddoniaeth hyfforddiadol yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd, yn enwedig yn llyfr y Diarhebion. Y pennodau cyntaf yn y llyfr hwn ydynt yn nodedig farddonol. Llyfr y Pregethwr sydd hefyd yn llawn o farddoniaeth o'r natur yma, ac amryw fannau yn llyfr y Salmau.

Nid ellir dywedyd bod barddoniaeth ddarluniadol yn gangen ar ei phen ei hun; ond dygir hi i mewn i'r diben o addurno pob math arall: a gwelir mai y darluniadau ydynt y rhanau mwyaf godidog o bob dosbarth arall o farddoniaeth. Mwy o feiau a welir yn fynych yn y dull yma o farddoni nag odid yr un dull arall; canys mae 'r bardd yma megis yn hwylio rhwng Scylla a Charybdis, tra mae perygl yn ei fygwth ar bob llaw. Dylai wisgo ei feddylddrychau darluniadol âg iaith farddonol; ond ar yr un pryd ni ddylai adrodd pethau mewn modd annaturiol. Gellir gweled llawer o gyfansoddiadau yn ennill cryn glod yn y byd, tra y maent yn ymgeisio gormod am ddrychfeddyliau uchel, a thrwy hynny yn dyfod yn annaturiol ac yn chwyddedig. Nid oes dim yn gosod allan wir farddoniaeth yn well na bod yr awdwr yn meddu yr hyn a ddarlunir mor briodol yn y Trioedd, sef, "llygad yn gweled anian." Dyma un o brif ragoriaethau barddoniaeth ddarluniadol, yn gystal a phob math arall o farddoniaeth. Pan byddo 'r bardd yn darlunio gwrthddrychau o bwys mawr, a difrifoldeb neillduol, dylai fod yn fyr ac yn rymus. Ond wrth iddo ddwyn golygfeydd o harddwch a phrydferthwch ger bron, gall ddefnyddio mwy o amser wrth draethu am danynt. Mae Homer a Virgil yn tra rhagori ar bawb yn eu darluniadau barddonol. Y blaenaf, pan yn darlunio y gwahanol frwydrau a frithant ei Iliad, sydd mor naturiol fel ag y mae 'r darllenydd bron yn barod i ddychymygu ei fod yn bresennol yn gweled y cwbl. Virgil hefyd pan yn

traethu am y dull y cymmerwyd Caerdroia, ac yn darlunio 'r ddinas yn cael ei gosod ar dân, a'r trigolion yn cael eu dinystrio yn y nos, sydd yn rhoddi ini rai o engreifftiau o farddoniaeth ddarluniadol, na chanfyddwyd eu cyffelyb braidd mewn un awdwr. Yn ngwaith Milton gwelir llawer o ddarluniadau ysblenydd, yn enwedig pan y mae yn desgrifio golygfeydd ardderchog Gwynfa, ac erchylldra gwlad y damnedigion. Mae Shakespeare hefyd yn hynod o ffawdus a naturiol yn llawer o'i ddarluniadau, ac y mae yn gyffredin yn fyr a chynnwysfawr wrth ddesgrifio unrhyw wrthddrych.

Dewi Wyn yn ei Awdl ar "Ynys Prydain," sydd wedi gosod ger bron rai darluniadau rhagorol, yn enwedig lle mae yn desgrifio y mynydd, y rhaiadr, a'r afon, &c. Cawrdaf, yn ei Gywydd ar "Oresgyniad Môn," sydd yn darlunio llawer o wrthddrychau oeddynt yn dwyn perthynas â'r amgylchiad mewn dull hynod o farddonol. Canfyddir engraifft benigamp o farddoniaeth ddarluniadol yn y "Meudwy," o gyfieithiad Bardd Nantglyn, yr hwn a gyhoeddwyd yn y Casgliad Barddonol o'i waith.

## BARDDONIAETH DUCHANOL.

*(SATIRE.)*

Mae 'r gangen hon o farddoniaeth yn dwyn perthynas agos â Chwardd-draith *(comedy)*; ac mae 'r naill a'r llall yn hannu o'r un dechreuad.

Prif amcan y dull yma o farddoni ydyw rhoddi addysg, trwy fflangellu beiau yr oes. Ond y ffaeleddau ag y mae ysgrifenwyr yn syrthio iddynt fynychaf yn y gorchwyl yma ydyw, ysgrifenu yn rhy noeth, a darlunio beiau a phechodau gwarthus mewn dull rhy amlwg. Y canlyniad o hyn fydd camddefnyddio yr addysg a fwriedir ei gyflwyno, a throi y cwbl yn destyn gwawd. Rhaid bod dynion yn meddu ar dalentau i feio yn gystal ag i glodfori. Os byddis yn clodfori unrhyw berson yn rhy amlwg a diaddurn mae 'r clod yn debyg o fod yn ogan, ac os ymosodir ar feiau dynion yr un modd, bydd y darluniad o honynt yn wrthun. Y Rhufeiniaid a ragorasant ar bawb eraill mae yn debygol, yn y dull hwn o ysgrifenu; a'r ddau enwocaf yn eu mysg yn y gangen yma o farddoniaeth ydynt Juvenal a Horace. Mae 'r blaenaf yn ysgrifenu fel pe byddai mewn tymmer ddrwg, ac yn llawn digofaint, a'r canlyniad ydyw ei fod yn fynych yn dangos beiau allan mewn dull rhy noeth. Ond mae Horace yn debyg i ddyn yn eistedd i lawr i'w gwawdio ac i chwerthin am eu penau, ac fe allai bron yn rhy gellweirus yn ei orchwyl, er mai ei ddull ef a gymmeradwyir, gan y beirniaid enwocaf, yn gyffredinol.

Y "Bardd Cwsg" o waith Ellis Wyn sydd fath o duchan, wedi ei ysgrifenu mewn dull tra chywrain; ac er ei fod mewn iaith rydd, y mae yn meddu ar holl deithi barddoniaeth, oddigerth mydryddiaeth. Y bai mwyaf sydd yn perthyn iddo ydyw bod ynddo rai pethau isel, ac hyd yn nod,

anweddaidd. Duchan-gerddi Sion Glan y Gors ydynt ar lawer o ystyriaethau yn gelfyddgar, ond anfynych y mae yn meddu ar ddigon o chwaeth i ymgadw rhag adrodd pethau anweddaidd. Y caniadau a anfonwyd i Eisteddfod y Trallwm yn erbyn "Swyn-gyfaredd," a roddant ini engraifft lled dda o farddoniaeth o'r natur yma.

## BARDDONIAETH FUGEILIOL.

*(PASTORAL POETRY).*

Y GANGEN hon o farddoniaeth a gyfrifir ym mysg y blaenaf o'r rhai a elwir yn ganiadau byrion, a'i diben ydyw rhoddi darluniad o fywyd y bugeiliaid. Rhaid bod y matterion yr ymdrinir â hwynt yn naturiol a dirodres, heb ddim llawer o addurniadau celfyddgar yn y dull o gyfansoddi. Dylai roddi darluniad o helyntion cyffredin bywyd diaddurn y bugeiliaid. Eu difyrwch, eu dadleuon, eu heiddigedd, gwrth-ddrychau eu serch, eu tristwch a'u trallodion, a wnant i fynu y gyfran helaethaf o'r fath ganiadau. Gan fod y testun yn ddiaddurn, rhaid bod y farddoniaeth yn gyffelyb; y darluniadau yn fyrion, y dull yn ddiniwed, a'r iaith yn isel, ond yn bur. Yr hyfrydwch mwyaf a ellir gael mewn barddoniaeth fugeiliol ydyw, oddi wrth

yr olygfa a rydd o dawelwch a sefyllfa ddedwydd bywyd gwledig. Dylai y bardd wneyd cymmaint ag a allo o'r pethau hyn, trwy ddarlunio pob peth sydd yn hyfryd yn y fath sefyllfa, a chelu pethau nad ydynt yn hyfryd. Virgil a ddarlunia un bugail yn annerch y llall, ynghylch dedwyddwch ei sefyllfa, yn y dull a ganlyn:—

" O henwr gwynfydedig, cei lechu rhag y gwres,
" 'Mysg ffrydiau a ffynnonau dy dir, gocheli 'r tês.
" Ac yn dy glawdd sy 'n derfyn, e sua 'r gwenyn mân,
" Wrth fwytta dail yr helyg, a denant gwsg â'u cân.
" Ac draw o dan y clogwyn, mae yntau 'r torrwr coed,
" Yn pyngcio wrth ei orchwyl, yr odlau mwyna 'rioed;
" A'r 'sguthan sydd yn cwyno yr ochr draw i'r ddol,
" Tra 'r durtur, ar y gangen, a seinia 'i chân o'th ol."

*Vir. Eclog.* 1.

Bugail a ddarlunir gan yr un Awdwr hefyd yn cyfarch ei gariad, tra mae hi braidd yn rhy falch i dalu sylw i'r hyn a lefarai, yna mae yn myned ym mlaen:—

" Yn fechan, gynt, 'rwy 'n cofio dy wel'd yn llaw dy fam,
" Yn dod i gasglu 'falau, i'n gardd, o gam i gam;
" A minnau ddaeth i'th arwain, pryd hyn yn ddeuddeg oed,
" A phrin y medrwn gyrhaedd, o'r llawr, ganghenau 'r coed.
" Ond pan y'th welais gyntaf, mi gofiaf byth y dydd,
" A'r argraff ar fy nghalon, tra dalio f' oes, a fydd."

*Vir. Eclog.* 8.

Yr ysgrifenwyr godidoccaf yn y gangen hon o farddoniaeth ydynt, Theocritus ym mysg y Groegiaid, Virgil yn Lladin, Pope a Phillips yn Saesonaeg, a Richards, o Ystrad Meurig, yn Gymraeg.

Mae yn ddiammeu bod gwaith Theocritus yn rhagori ar yr un arall, am mai efe ydyw y mwyaf gwreiddiol; ystyrir gwaith Virgil yn dra rhagorol hefyd. Math o fugeil-gerdd ardderchog ydyw Caniad Solomon. Mae y dull yn hollol o'r natur yma, ond mae yn ddiddadl bod yr holl bethau y cyfeirir attynt yn dwyn perthynas, mewn dull dammegol ac alleiriol, â Christ a'i Eglwys.

## BARDDONIAETH ALARNADOL.

*(ELEGIAC POETRY).*

Y GALAR a'r tristwch a deimlid ar farwolaeth cyfeillion a pherthynasau, a roddes ddechreuad i farddoniaeth alarnadol. Mae yn debyg nad oedd y Marwnadau cyntaf ond math o gyfansoddiadau byrion a diaddurn, ond mewn amser dechreuasant ymwisgo mewn diwyg dra gwahanol. Yr oeddynt yn cael eu defnyddio yn gyffredin i'r diben o ddatgan y golled a'r tristwch a deimlid ar ol cyfeillion mynwesol a charedigion hoff, dynion o enwogrwydd a haelioni, cariadau, ynghyd â phersonau o brydferthwch a thegwch neillduol. Ond cyn pen nemawr o oesoedd dechreuodd galarnadau ymestyn dros faes mwy ehang na hyn, gan gymmeryd i

mewn bob math o destynau a fyddent yn dwyn perthynas gyda siomedigaeth, tristwch, a galar, oddiar ba achosion bynnag y tarddent. Ac o fesur ychydig cymmerent i mewn destynau ag sydd braidd yn llwyr wrthwynebol i'r rhai uchod, megis y canfyddir yn ngwaith Ovid, yr enwog fardd Lladinaidd, galar-gwynion yr hwn a gymmerant i mewn agos i bob math o nwyf-destynau.

Mae 'r beirniaid enwoccaf yn gyffredin yn dywedyd nad oes ond ychydig nifer o farwnadau da wedi cael eu cyfansoddi yn yr un iaith, ac na lwyddodd yr un genedl yn hyn, gystal ag y gallesid disgwyl. Cyfrifir "Lycidas" Milton, a'r "Elegy to the Memory of an unfortunate lady," gan Pope, ym mysg y goreuon yn yr iaith Saesonaeg. Gellir ystyried "Laura," yr hon mae yn wir sydd gyfieithiad o waith Petrach, gan y dysgedig Syr William Jones, yn rhagori ar yr un o'r rhai a nodwyd. Gellid crybwyll am rai Marwnadau da yn yr iaith Gymraeg, ond pan y meddyliom y fath nifer o honynt sydd wedi ymddangos o dro i dro, nid ydyw rhifedi y rhai da ond bychan iawn mewn cyfartaledd.

Gwelir llawer o enghreifftiau godidog o farddoniaeth alarnadol yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd, megis galarnad Dafydd ar ol Saul a Jonathan, amrywiol rannau o'r prophwydi, ac amryw o'r Salmau, y rhai a gawsant eu cyfansoddi mewn cyfyngder a thrallod. Ond y cyfansoddiad mwyaf ardderchog mewn bod o'r natur yma, mae yn debyg, ydyw Galarnad Jeremiah. Yn hon yr ydym yn canfod

y prophwyd yn galaru uwch ben adfeilion y deml a'r ddinas sanctaidd, yn gystal a chyflwr anrheithiedig gwlad Judea; ac mae llawer o ddarluniadau godidog ac ysplenydd yn cael eu defnyddio ganddo ar yr achlysur.

## ENGLYNION.

### *(EPIGRAMS).*

Nid ydyw barddoniaeth englynol ym mysg y Cymry yn hollawl yr un fath â'r hyn ydyw ym mysg cenhedloedd eraill. Meddylir os ceir Englyn rhwydd a llithrig, wedi ei wneyd yn ol y rheolau, ac yn cynnwys darluniad o wrth-ddrych y testun, bod hynny yn gymmaint ag a ddisgwylir. Ym mysg cenhedloedd eraill ystyrir dywediad ffraethlym a nodedig yn un o anhebgorion Englyn. Yr Englyn canlynol sydd wedi ennill y gamp mewn Eisteddfod, a gellir dywedyd nad oes dim barddoniaeth ynddo heblaw y mesur:—

I'R ENFYS.

"Enfys yn ddilys a ddyd——fwyn arwydd
Fanerawg i'r hollfyd,
Na yrr Ion unrhyw enyd
Ddwr barn i orchuddio 'r byd."

Y canlynol sydd yn debyg i ddull y Groegiaid:—

YNYS PRYDAIN.

"PARADWYS wemp, prid y son, Eden deg,
Yn dwyn dail a meillion;
O'i hamgylch ogylch, eigion
Y môr hallt, yw muriau hon."

Y dywediad ffraethlym yn niwedd yr Englyn uchod sydd yn nodedig o gampus. Ystyrir yr Englyn canlynol ym mysg y goreuon yn ein hiaith:—

I'R NOS.

"Nos dywell yn dystewi——caddug
Yn cuddio 'r Eryri,
Yr haul yn ngwely 'r heli,
A'r lloer yn ariannu 'r lli."

Ond y meddyl-ddrych yn y ddwy linell olaf nid ydyw yn perthyn i awdwr yr Englyn, ond y mae gyn hyned â dyddiau Homer o'r un lleiaf.

# POEMS;

BY THE

REV. G. EDWARDS, M. A.

CURATE OF LLANGOLLEN.

——— ibi hæc incondita solus
Montibus et silvis studio jactabat inani.

VIRG.

# INTRODUCTION.

As this little volume is not likely to fall into the hands of many persons who are not able to understand English, and there being many who have favoured the author with their names as subscribers to it not able to reap any benefit from the Welsh poems, it was therefore found desirable that some portion of the collection should be in English.—Most of the poems in it were written when the author was very young, but have since undergone some alteration as they were revised for the press. He thought it might be worth his while to make some effort to rescue from oblivion a portion of his early labour, by bringing it thus before the public, especially those Poems for which Medals and Prizes had been awarded at various Eisteddfodau. He is fully aware that the present day is not a very favourable opportunity to offer any kind of Poetry to the world. The age is too scientific to pay much homage at the shrine of the Muses; and men are too much given to profit, and too much the slaves of usefulness, to go and visit

Parnassus for the sake of having their senses gratified, and their hearts and morals changed and mended. It is true that Wales has been for ages justly designated the "land of song," and has been always in high repute as the abode of the Muses, and seat of the Bards; and even to the present time, I am happy to say, she has some claim to this honourable distinction. One is, however, surprised that so little of her Poetry has made its way into any other language, besides the ancient language of the country, and that almost all her Bards have been content to range within the narrow limits of their own rocks and mountains.

It is generally admitted that the aspect of a country often forms a sort of index to the character of the people. We are not, therefore, to be surprised if the sublime and majestic scenery of Wales, especially the Northern part of it, should in no small degree assist to excite poetical ideas, and form sublime conceptions in the minds of those who are conversant with them. For in a country filled with so many sublime objects the minds of the inhabitants must become gifted as by inspiration, and are by nature filled with poetical ideas. And nature herself teaches the soul to mount on the wings of immortality, and aspire after things

higher than those of earth, by the assistance of those objects that surround her; and the mind is formed and trained from the beginning, as it were to converse with sublimity and terror. Hence in Wales, as in ancient Greece, every hill and valley, every fountain and stream, are haunted by imaginary beings, and fancy has peopled her forests and dingles with a great number of fairies and elves. Therefore we are not to wonder if the votaries of the muses be here numerous, and if Snowdon and her crystal streams almost rival Parnassus and Helicon.

One eminent writer says, that "poetry makes a principal amusement among unpolished nations; but in a country verging to the extremes of refinement painting and music come in for a share." This may account for the apathy shewn towards any work of this nature at present; for men, as they are further removed from the simplicity of their original state, become less and less the admirers of poetry. And in Wales at present, religious dissensions, and political animosities, are likely to get the better of that love of harmony and song so much fostered and cherished amongst our forefathers. If the reader were to form an opinion of the whole of this volume from the following poems alone, he

would not perhaps be able to do it justice. But let him read both parts before he passes any judgment upon it, and form his opinion of the merit or demerit of the whole. The author feels sure that there can be nothing in this little work to give offence to any one; and if it do not contain much calculated to please and gratify the reader, it contains nothing that can possibly hurt or give him pain. And one great principle, he trusts, has not been lost sight of throughout, the good of man and the glory of God; and if this be attained even in the smallest degree, he will rest satisfied that he has been amply rewarded.

# LINES

READ AT THE LIVERPOOL EISTEDDFOD, 1841.

Hail land of Cambria! where in days of yore,
Thy ancient Bards unveiled their mystic lore,
Whose strains divine immortalized thy name,
And taught the hills to chant thy heroes' fame.
Time of oppression, with his iron hand,
And civil war, when riding o'er thy land,
Stifled not thy muse, nor hush'd thy charming lyre,
But Bards and Minstrels fann' d the sacred fire.
Some high Parnassus, 'midst thy distant hills,
Some crystal stream, that rolled her murmuring rills,
Were found as nurses to the sons of song;
And bade the rocks their dying notes prolong.

In ages past, when from the western main,
Rome 's mighty legions covered Albion 's plain;
The hills and vallies rang with piercing cry,
And shouts of warriors rent the starry sky!
When Cæsar 's legions and Paulinus'[1] band
Thy cities stormed, or wrapt in flames thy land;
The Muse e' en then, armed heroes 'gainst the foe,
And mourn'd the fallen and slain in strains of woe!

[1] *Paulinus' band.*—Suetonius Paulinus, was Prefect of Britain, under the Roman Emperor Claudius. He conquered the Island of Anglesey, and quelled a general revolt headed by Boadicea.

O 'er hill and dale, now every where we trace,
Some marks of struggles that marr 'd our country 's face.
Like shatter 'd vessel, which returns from far
Safe to the port from elemental war,
There rides in safety from the tempest's roar,
And stormy wind, though oft their sport before;
Such, dear Cambria, long has been thy fate,
When once thy sons had lost the helm of state.
Here ancient Mona did her sons deplore,
And Morva Rhuddlan[1] stream'd with barbarous gore;
There Arvon's straits[2], like Œta's[3] pass of old,
Saw other Spartans guarding every hold.
Now every tower and demolish'd wall,
The mossy column, and deserted hall,

[1] *Morva Rhuddlan.*—This celebrated marsh is situated between the village of Rhuddlan and the sea, and has been the scene of many a hard fought battle; of which the most renowned is that between Offa, King of Mercia, and Caradoc of North Wales, which terminated in the slaughter of the latter, and his brave army. Those who escaped the sword perished in the fatal marsh, from the influx of the tides. From this disastrous occurrence we may date the origin of that mournful lament, yet extant, called "Morva Rhuddlan."

[2] *There Arvon's straits.*—The Barons of Snowdon, in Caernarvonshire, were considered the most powerful lords of the soil, and their rights and possessions were always the most severely contested and the last resigned.

[3] *Œta's pass.*—The straits or passes of mount Œta are called the straits of Thermopylæ; here the brave Leonidas with his Spartan band of 300 men, withstood the powerful

Fill our minds with thoughts of great renown,
Since Cambrian Monarchs wore the imperial crown.
Those days of grief and sorrow now are o'er,
The trumpet's blast disturbs the hills no more;—
Peace and contentment smile on all around,
And make the Cambrian love his native ground.
The hills, the mountains, and the rapid stream,
Afford the poet far a nobler theme,
Than fleets approaching to his craggy shore,
And plains and mountains drench'd by human gore!
Or soar, in thought, beyond the orb of day,
And where the planets wheel their mazy way;
And trace the marks and footsteps of the storm,
The whirlwind's chariot, and the light'ning's form.
The Bardic standard, now we see unfurl'd,
In modern Tyre of the western world,
The Muse reviv'd at Mostyn's far fam'd name,
And Gordovigion's call stirr'd the poetic flame.
This glorious festival of sons of song
Shall be remembered, by our nation, long.—
Whilst Ocean's billows and the Mersey meet,
And hoary Neptune groans beneath our fleet,
So long Victoria's reign and Cambria's name
Shall be recorded, on the page of fame.

army of Xerxes with such vigour, that they were obliged to retire, wearied and conquered during three successive days. But they were at last crushed to pieces, and only one escaped the rest together with their immortal leader perished in the contest.

## MUTINY OF THE BOUNTY.

Retiring Phæbus ruled the inverted year,
And gloomy winter now was drawing near,—
When to the ocean, under Bligh 's command,
The Bounty went, from Britain 's sea-girt land;
About to visit distant coasts unknown,
Beyond the regions of the burning zone.[1]
Whilst bounding onward in her speedy flight,
The land and hills were soon withdrawn from sight;
And heaven above now shew 'd them where to go,
Whilst shining brightly on the sea below;—
'Till Teneriffe[2] disclosed its giant form,
Which props the stars, and looks above the storm.

The following extracts from the "Voyage of Captain Bligh," written by himself, will serve to illustrate the historical allusions in this poem.

[1] *Burning zone.*—"I saw, with much concern, that it was impossible to make a passage this way to the Society Islands, for we had now been thirty days in a tempestuous ocean. Thus the season was too far advanced for us to expect better weather to enable us to double Cape Horn; and, from these and other considerations, I ordered the helm to be put a-weather, and bore away to the Cape of Good Hope, to the great joy of every one on board."

[2] *'Till Teneriffe.*—"On the 5th of January we saw the Island of Teneriffe about twelve leagues distant, and next day being Sunday, came to an anchor in the road of Santa Cruz."

Far hence they sailed, and westward cleft their way,
As if pursuing the departing day;
Where the Pacific[1] thunders to the pole,
And mountain billows 'gainst Americ roll.
The wind and main were here all enraged,
And heaven and earth in conflict seem'd engaged.
The swelling surges scaled the lofty sky;
To Neptune's roar the thunder did reply!
Æolus ruled, and with a stern command,
He drove the billows to invade the land;
Whilst sullen darkness wrapt in gloomy night,
The face of heaven, and even the source of light.
The winds abated just to draw their breath,
Then hurled them onward to the jaws of death.
They here toiled for many a day in vain,
Toss'd by the surges of the boiling main;
But yet, at last, from every danger free,
They gain'd the Islands of the Southern sea.

Far on the ocean with his darting ray,
In beauty and splendour shone the lamp of day,

[1] *Where the Pacific.*—"We were off Cape St. Diego, the eastern part of the Terra del Fuego, and the wind being unfavourable, I thought it more advisable to go round to the eastward of Staten-land than to attempt passing through Straits le Main. We passed New Year's Harbour and Cape St. John, and on Monday 31st were in latitude 60° 1' south. But the wind became variable, and we had bad weather. Storms, attended with a great sea, prevailed until the 12th of April. The ship began to leak, and required pumping every hour, which was no more than we had reason to expect from such a continnance of gales of wind and high seas."

